

# Y Ddau Oleuni

CYFRES O ☙

BREGETHAU

GAN Y

PARCH. HUGH HUGHES,

LLANGOLLEN



BANGOR:

EVAN THOMAS, ARGRAFFYDD, HIGH STREET

1903

# CYNWYSIAD.

# RHAGARWEINIAD.

---

MAE'R Gyfrol hon yn cael ei dwyn allan ar gais llawer o gyfeillion, a chyda'r argyhoeddiad personol y gallai y cynyrchion hyn brofi yn fendithiol trwy y wasg, fel y mae sail i gredu iddynt fod yn y traddodiad ohonynt. Cymerwyd trafferth i ail-ysgrifenu yr oll, mor debyg ag ydoedd fuddiol i'r modd eu traddodwyd.

Gyda gweddi gywir ar i'r Gyfrol fod yn fendith a chysur i lawer, y cyflwynir hi i'r cyhoedd.

HUGH HUGHES,

*Llangollen,*

*Nadolig, 1903.*



# Y DDAU OLEUNI.

"*Yn dy oleuni di y gwelwn oleuni.*"—SALM XXXVI. 9.

YN yr adran hon o'r Salm, desgrifir yr Arglwydd fel ffynonell trugaredd, cyfiawnder, bywyd, a goleuni. "Fel mynyddoedd cedyrn y mae dy *gyfiawnder;* dyfnder mawr yw dy farnedigaethau: dyn ac anifail a gedwi di, Arglwydd. Mor werthfawr yw dy *drugaredd,* O Dduw! am hyny yr ymddiried meibion dynion dan gysgod dy adenydd. Canys gyda thi y mae ffynon y bywyd: yn dy oleuni di y gwelwn oleuni."

Fel ffynonell bywyd a goleuni yr edrychir arno yn y geiriau hyn. Mae Duw yn ffynonell bywyd yn gyffredinol—naturiol, meddyliol, ac ysprydol. Yr olaf, yn ddiau, a olygir yma yn benaf; ac yn ngoleuni y bywyd hwn y gwelwn ryw oleuni arall. Mae felly berthynas arbenig rhwng bywyd a goleuni yn Nuw. Bywyd Duw yn fflachio allan ydyw pob goleuni a gynyrchir ganddo. Pwy a all edrych yn ystyriol ar oleuni llachar yr haul mawr, heb sylweddoli y ffaith fod yna ryw fywyd anfeidrol yn fflachio allan ei egnïon trwyddo? Pwy a all sylwi ar fflachiad ofnadwy ddisglaer a nerthol y fellten, heb deimlo fod yna nerth anfeidrol yn ei gyru allan, i oleuo y nefoedd a dychrynu y ddaear? Ac onid yw trefn ac

amrywiaeth gweithrediadau y greadigaeth faterol, a galluoedd meddyliol dyn, yn effaith ryw fywyd dealltwriaethol gogoneddus? Ac onid yw daioni, trugaredd, a haelfrydedd, fel eu hamlygir yn nghynyrchion amrywiol ac annhraethol ddefnyddiol y ddaear, yn effaith bywyd cymeriad anfeidrol dda y Duw mawr? Ceir ymadroddion yn cyfleu yr un meddwl yn y Testament Newydd. "Ynddo Ef yr oedd bywyd, a'r bywyd oedd oleuni dynion." Ceir hefyd yr ymadrodd, "goleuni y bywyd." O fywyd meddyliol ac ysprydol Person, y tardd y goleuni mwyaf pur, llachar, a gogoneddus. Daw y goleuni hwn i'r golwg mewn edrychiad, gair, a meddwl mawr. Os oes bywyd meddyliol mawr gan ddyn, daw allan yn nisgleirdeb ei edrychiad. Dyma, yn ddiau, a olyga y Salmydd pan y gweddïa yn fynych. "Llewyrcha arnom o lewyrch dy wyneb," yr hyn a olyga fflachiad allan fywyd ysprydol mawr Duw.

Eithr crybwyllir yn y testyn am ddau oleuni—y naill yn galluogi i weled y llall. Mae y cyntaf yn oleuni ar y llygaid sydd i weled, a'r llall yn oleuni ar y gwrthddrychau sydd i'w gweled. Mae y naill yn cyffroi a bywiogi y llygaid, a'r llall yn dangos ac yn egluro y gwrthddrychau sydd tuallan i'r meddwl. I beri gwelediad llawn i'r llygaid naturiol, rhaid cael pelydrau goleuni o'r un ffynonell i'r llygaid ac ar y gwrthddrychau allanol. Er i'r haul belydru ar wrthddrychau, os na ddaw yr un llewyrchiadau i'r llygaid ni cheir golygfa; ac er cael llewyrch i'r llygaid, os na cheir ef ar y gwrthddrychau hefyd, ni sicrheir golygfa o gwbl. Cyffelyb ydyw yn y byd meddyliol. Yr athraw perffeithiaf ydyw yr un sydd

yn ddigon o ysgolaig i oleuo holl gangenau gwybodaeth ar un llaw, ac yn meddu digon o ysprydoliaeth i fywiogi, cyffroi, a thynu allan feddyliau ei ysgolorion ar y llaw arall. Mae ambell i athraw yn ysgolaig uwchraddol, eithr yn amddifad iawn o'r gallu i ysprydoli ei ysgolorion i weled goleuni ei wybodaeth; tra mae un arall, er heb fod, efallai, yn ysgolaig mor wych, yn gallu deffroi a goleuo meddyliau ei ysgolorion i weled yr holl oleuni sydd ynddo ef.

Dyma, mi gredaf, ydyw y ddau oleuni sydd yn y testyn. Goleuni Duw yn ei Air datguddiedig ar wirioneddau mawrion trefn iachawdwriaeth a gwir grefydd ydyw yr olaf, a goleuni Duw trwy ei Yspryd ar yspryd dyn, er ei alluogi i weled i ddyfnderoedd ysprydol gwirioneddau yr efengyl, ydyw y blaenaf. Trwy yr ysprydoliaeth hwn y galluogir yr enaid i ganfod a defnyddio yn briodol a llawn ddatguddiad Duw yn ei Air Sanctaidd. O'r un ffynonell ddwyfol y daw goleuni datguddiad ar y gwirioneddau gwrthddrychol, a'r goleuni ysprydiadol ar yr enaid er ei alluogi i weled a defnyddio y datguddiad er ei fantais dragwyddol ei hun. Rhaid bod o dan ddylanwad yr Yspryd Glân i iawn-ddeall yr Ysgrythyrau. Nid llyfr wedi ei gyfansoddi i'w adael yn y byd, ar ol i'w Awdwr fyned ymaith ydyw y Beibl, eithr llyfr yn llaw ei Awdwr *byw*, fel y mae llyfrau yr ysgolion yn llaw yr athrawon. Prif ogoniant ysgolion ydyw fod goleuni personol yr athraw yn cynorthwyo meddyliau yr ysgolorion i weled dysgeidiaeth y llyfrau. Felly, hefyd, mae yn rhaid cael yr Athraw dwyfol trwy, ac yn y Gair, er cynorthwyo yr enaid i gael mewn-olwg i gyfoeth ysprydol

dysgeidiaeth yr efengyl. Gall y meddyliwr diwylliedig feistroli llenyddiaeth a duwinyddiaeth y Beibl, i raddau pell, heb yr Yspryd Glân; eithr nis gall neb ddeall haenau ysprydol y Gair heb ei oleuni a'i ysprydiad dwyfol. "Yn ysprydol y bernir hwynt."

Bellach, ymdrechir nodi rhai gwirioneddau pwysig ag y mae goleuni Duw, trwy ei Yspryd, yn hanfodol i ganfod y ddysgeidiaeth ddwyfol parthed iddynt.

## I.—Yn ngoleuni Duw, trwy ei Yspryd, y gwelwn oleuni yr efengyl ar ddrwg pechod.

Mae darluniad y Beibl o bechod yn llawn, cryf, ac ofnadwy iawn. Gosodir ef gerbron mewn termau cryfion, megys bai, trosedd, camwedd, anghyfraith, annuwioldeb, gelyniaeth yn erbyn Duw, mawr ddrwg, dichell, malais, ffieidd-beth, &c. Ceir ef mewn portreadau arswydlawn hefyd—yn ddamegol ac hanesiol. Mae ffolineb a thrueni pechod yn cael ei osod mewn modd hynod fyw yn nameg y Mab Afradlon, ac yn hanes dynion drwg, megys Pharaoh, Belsassar, Jeroboam mab Nebab, "yr hwn a wnaeth i Israel bechu," Jezebel greulon a beiddgar, Herod, Judas Iscariot, &c. Mae'n anhawdd meddwl y gellir cael desgrifiadau mwy byw a chynhyrfus o ddrwg pechod yn mhob agwedd posibl iddo, nag a roddir yn Ngair Duw. Un o amcanion arbenig yr Ysgrythyr oedd datguddio i ddynion fawr ddrwg pechod. A'r rheswm digonol am hyny ydyw, mai un o effeithiau pechod ydyw dallu y llygaid ysprydol i'w ddrwg ei hun. Campwaith y diafol a phechod ydyw cuddio drwg, mewn syniadau cyfeiliornus a gwallgof ar y gwahaniaeth rhwng drwg a

da. Y peth dymunolaf gan y diafol fyddai cael dynion i feddwl ei fod ef wedi marw, neu adael ein byd ni am uffern neu rywle. Y peth mwyaf manteisiol i yspeilwyr tai a masnachdai ydyw cadw y preswylwyr yn gwbl anwybodus o'u trefniadau. Mae lle i ofni fod y diafol yn llwyddiannus yn yr oes hon mewn cuddio ei hun mewn *daioni*. Gogwydd yr oes ydyw ymdrechu meddwl y drwg yn dda, a'r chwerw yn felus. Mae llawer o bobl, a ystyriant eu hunain yn dda, yn gallu siarad ymaith y drwg sydd mewn chwareuon ysgeifn a gwag, hap-chwareuon, a *raffles* a gondemnir gan gyfraith y wlad hon, a chan Dduw. Ymddengys i mi mai un o brif angenion yr oes hon ydyw deffroad yr *ymdeimlad o ddrwg pechod* yn nghydwybod y wlad. A diau mai yr angenrheidrwydd am y deffroad hwn yn mhob oes ydyw y rheswm dros y drafferth fawr a gymerir gan yr ysgrifenwyr ysprydoledig i ddarlunio i ddynolryw syrthiedig fawredd drwg pechod. Eithr er yr holl ddesgrifiadau byw o bechod a roddir yn yr Ysgrythyrau, nid oes sail i ddisgwyl y gwêl dynion oleuni yr Ysgrythyr ar bechod heb oleuni yr Yspryd Glân i ddeffroi y gydwybod, a'r synwyr ysprydol, i fyned i mewn i ystyr ysprydol, a hyllwch moesol pechod, fel y mae yn gwrthdaraw ewyllys, awdurdod, a chymeriad Duw. Rhaid cael gweinidogaeth yr yspryd *yn* ngweinidogaeth y Gair i ddod a phechadur i wyneb drwg damniol pechod.

Gwelir oddiwrth hyn fod yn anmhosibl i neb ganfod drwg dyfnaf pechod yn ereill, heb yn gyntaf ei ganfod ynddo ei hun trwy ymwybyddiaeth deffroedig. Mae'n rhaid i ddyn adnabod y pechadur ynddo ei hun cyn y

gwêl y pechadur yn neb arall yn ei ystyr ddofn ac ysprydol. Ac mae goleuni yr Yspryd Glân, yn ngoleuni y Gair, yn angenrheidiol er cyraedd yr amcan pwysig hwn. Mae yn yr oes hon, o bosibl, fwy o efrydu ar Air Duw o safle lenyddol, dduwinyddol, ac ysgoleigaidd nag erioed ar y mater hwn, yn ogystal a materion ereill. Ond er hyn oll, mae synwyr ysprydol y bobl yn ymddangos yn pwlu—y craffter i adnabod drwg yn colli ei awch. A'r unig esponiad a ellir ei roddi ar hyn oll, ydyw absenoldeb nerth y goleuni dwyfol sydd yn ein galluogi i weled goleuni yr Ysgrythyr ar bechod. Mae y goleuni hwn i'w gael yn uniongyrchol gan Dduw mewn atebiad i daerach gweddïau. Dyma bwynt gwanaf yr eglwys yn y cyfnod presenol—cyflawniad amodau caffaeliad y goleuni trwy yr hwn y gwelwn oleuni.

Mae craffter byw i weled drwg pechod yn un o amddiffynfeydd diogelaf cymeriad da. Dyma amddiffynodd gymeriad Joseph pan demtiwyd ef gan wraig Putiphar yn yr Aifft. Nis gellid meddwl am hudoliaeth bechadurus gryfach na hon. Ond mae yr ymdeimlad dwfn o fawr ddrwg pechod yn ymgodi yn amddiffyn iddo yn nghanol yr ymosodiad, ac meddai, "Pa fodd, gan hyny, y gallaf wneuthur y mawr-ddrwg hwn, a phechu yn erbyn Duw." Pan bechwn, mae yr ymdeimlad o ddrwg pechod yn sicrwydd gwir edifeirwch ac adferiad. Er i Petr roddi ffordd i demtasiwn, a gwadu ei Arglwydd, ceir ef ar unwaith yn "wylo yn chwerw dost" am nad oedd ei lygaid ysprydol wedi pwlu gyda golwg ar bechod. Eithr y mae ymgadw yn wastadol effro i ddrwg pechod yn diogelu rhag cyflawni pechod. Ymddengys fod yr

ymdeimlad hwn yn fwy byw, ac yn llai cyfnewidiol, yn Joseph nag yn Dafydd. Yr oedd yn ddigon cryf yn Dafydd i beri iddo edifarhau am ei bechod, eithr yr oedd yn ddigon cryf yn Joseph i'w gadw rhag pechu. A dyma, yn ddiau, y cyflwr ysprydol uchaf. Mae meddiant o'r goleuni hwn yn yr enaid, a bâr i bechod ymddangos gerbron y meddwl yn ei erchylldra yn barhaus, yn gynyrch ymgadw yn wastadol yn mhresenoldeb Duw. Mae pellâd yr enaid oddiwrth Dduw, yn bellâd hefyd oddiwrth sylweddoliad o ddrwg pechod. Mor bwysig, gan hyny, ydyw i bob cristion ymgadw yn ddifwlch yn llewyrch gwyneb yr Arglwydd mewn myfyrdod a gweddi. Mae y Salmydd yma yn trafod y mater pwysig hwn gyda Duw ei hun. Nid anhawdd llefaru ar y mater gyda dynion heb sylweddoli ei bwysfawredd yn briodol, eithr y mae codi y cwestiwn i fyny i wyneb Duw ei hunan yn dangos cywair yspryd uchel ar y pryd. "Yn *dy* oleuni di."

II.—Yn ngoleuni Duw, trwy ei Yspryd, y gwelwn oleuni yr efengyl ar Iesu Grist fel Gwaredwr.

Geiriau rhyfedd, ac yn cynwys ryw ystyr ysprydol ddofn ydynt eiddo yr Apostol Paul at y Corinthiaid (1. Cor. xii. 3). "Ac ni all neb ddywedyd yr Arglwydd Iesu, eithr trwy yr Yspryd Glân." Yr ystyr yw, na all neb feddu mewn-olwg i ddwyfoldeb ac ysprydolrwydd cyfriniol ei Berson, ond yn ngoleuni pur yr Yspryd Glân. Mae yr Yspryd dwyfol, yn ei ddylanwad ar yr enaid, yn deffroi a goleuo i fyny ei gyngreddfau ysprydol, i ganfod pethau uchel a phell Crist a'i deyrnas, ag sydd tuhwnt

gallu y meddwl dynol digynorthwy gan y dwyfol oleuni. Gall y meddyliwr mawr a diwylliedig ddeall llawer am Iesu Grist trwy efrydiaeth egniol a diwyd. Eithr y mae yn Iesu Grist ryw ogoniant sydd allan o gyraedd pawb amddifad o oleuni yr Yspryd Glân, beth bynag fyddo eu nerth meddyliol. Dyma y paham nas gallant "ddyweyd," a gwybod yn llawn pa beth a ddatganant, heb yr Yspryd Glân. Heb y goleuni hwn, maent fel plentyn bychan, neu *parrot*, yn llefaru yr hyn nas gwyddant yn llawn. Yn ysprydol y bernir Iesu Grist yn gystal ag egwyddorion ei deyrnas. Nis gall y dyn anianol, neu eneidiol, ei ddeall byth. Nis gall neb ei weled fel Person a Gwaredwr mawr, ond trwy belydron rhyfedd a gogoneddus yr Yspryd tragwyddol ar yr enaid.

Mae yn anhawdd esponio datganiad cywir, cyflawn, Ioan Fedyddiwr, ond yn ngoleuni yr Yspryd Glân, pan y dywedodd, "Wele Oen Duw, yr hwn sydd yn tynu ymaith bechodau y byd." Cynwysa y geiriau hyn y fath *insight* i ystyr ddwyfol, ac ysprydol, Person a gwaith Iesu Grist, ag sydd yn anmhosibl ei esponio yn foddhaol ar wahân i ryw lewyrch dwyfol ar ei feddwl. Gwesgir ni i'r un syniad wrth efrydu dychweliad y lleidr ar y groes. Hyd y gellir deall, yr oedd holl gylchyniadau yr Iesu ar y pryd yn anfantais i'r lleidr weled ynddo y Gwaredwr mawr. Yr oedd yr Iesu ar yr adeg, yn wrthddrych gwawd, dirmyg, a chabledd bron yr oll oedd wedi ymgasglu o gwmpas y groes. Ac nid oedd neb yn cablu mwy na'r lleidr arall a groeshoeliasid gydag ef. Yr oedd gan y lleidr, gan hyny, i weithio yn erbyn yr holl nerthoedd dynol o bob cyfeiriad—yn erbyn yr

eglwys, ac yn erbyn y byd. O'r bobl nid oedd neb gyda'r Iesu. Beth, gan hyny, barodd i'r dyn hwn, yn nghanol corwyntoedd llid plant dynion, weled yn glir a llawn ddiniweidrwydd, purdeb, awdurdod, a mawredd breninol Iesu Grist? Beth barodd iddo, yn nghanol pangfeydd marwolaeth, ddywedyd wrth y lleidr cableddus arall, "Onid wyt ti yn ofni Duw, gan dy fod dan yr un ddamnedigaeth? A nyni yn wir yn gyfiawn; canys yr ydym yn derbyn yr hyn a haeddai y pethau a wnaethom; eithr hwn ni wnaeth ddim allan o'i le. Ac efe a ddywedodd wrth yr Iesu, Arglwydd, cofia *fi* pan ddelych i'th deyrnas?" Yr unig atebiad boddhaol ellir ei roddi i'r cyfryw ofyniad ydyw fod yr Yspryd Glân wedi llewyrchu ar ei feddwl ogoniant Iesu Grist fel cymeriad perffaith a Gwaredwr anffaeledig. Yn ngoleuni Yspryd Duw y gwelodd y gwirionedd llawn am yr Iesu, ac y canfyddodd ynddo ei Waredwr ei hun.

Rhaid cael gweinidogaeth yr Yspryd eto i oleuo yr enaid i weled Crist gweinidogaeth yr efengyl. Mae yn yr oes hon ddigon o weinidogaeth yr efengyl mewn eglurder dynol mawr, eithr rhy fach o lawer o weinidogaeth yr Yspryd Glân, i weled y cyfryw yn ysprydol. Achosir hyn oll gan ddiffyg cyflawniad amodau derbyniad goleuni a nerth yr Yspryd Glân o du Eglwys Dduw. Mae undeb y ddau oleuni hyn yn hanfodol i gael golwg gyflawn ac effeithiol ar Iesu Grist. Pa mor alluog ac eglur bynag fyddo y bregeth, oddieithr i'r Yspryd Glân oleuo yr enaid trwyddi, ac iddi, ni chyraeddir amcan ysprydol ar yr enaid. Ond pa mor syml a diaddurn bynag fyddo y bregeth, os bydd amodau

derbyniad yr Ysbryd Glân yn cael eu cyflawni gan y gwrandawyr, fe ddaw goleuni a arddengys yn glir a llawn ogoniant y Gwaredwr mawr. Is-raddol iawn, mewn ystyr dduwinyddol, oedd y bregeth dan yr hon y gwelodd yr anfarwol Spurgeon Iesu Grist yn Waredwr tragwyddol iddo ei hun; ond yr oedd ef ei hunan, er's wythnosau, mewn cyflwr meddwl agored, a pharod i dderbyn goleuni yr Ysbryd Glân, er gweled goleuni yr efengyl ar Iesu Grist, y Person a'r Gwaredwr anffaeledig. Beth bynag fyddo cynydd esponiadaeth parthed dysgeidiaeth yr Ysgrythyr am Grist, os na cheir goleuni'r Ysbryd ni welir y cyfryw oleuni, er mantais achubol a sancteiddiol eneidiau anfarwol.

III.—Yn ngoleuni Duw, trwy ei Ysbryd, y gwelwn oleuni yr efengyl, a'r egwyddorion, a gwirioneddau mwyaf ysprydol teyrnas Dduw.

Dysgeidiaeth ysprydol yr Ysgrythyrau ydyw eu prif arbenigrwydd. Gwirioneddau ysprydol y Beibl sydd yn ei osod wrtho ei hun o'i gymharu â phob llyfr arall; ac mae yn anmhosibl eu deall o gwbl heb i'r meddwl fod o dan lewyrchiadau yr Ysbryd Glân. Fel y mae eisieu meddwl barddonol i weled drychfeddyliau barddonol, felly y mae yn rhaid cael ysprydolrwydd meddwl i weled golygfeydd ysprydol dysgeidiaeth Gair Duw. Mae rhyw "ddatguddiad llygaid" y meddwl, gan Ysbryd Duw ei hun, yn angenrheidiol i weled y pethau rhyfedd sydd yn nghyfraith Duw. Mae dynion galluog yn meddu meistrolaeth deilwng ar lenyddiaeth amrywiol, a materion duwinyddol y Beibl, eithr os yn amddifad o ysprydol-

rwydd meddwl, ag sydd yn effaith goruchwyliaeth ysprydol Duw ei hun, nis gallant ddirnad y gwirioneddau parthed perthynas bersonol yr enaid â Duw, ac â'r saint. Un peth ydyw efrydu Duw a Iesu Grist fel mater i'w drafod, peth arall, annhraethol agosach i'n bywyd mewnol ac ymarferol, ydyw dal "cymdeithas gyda'r Tad a chyda'i Fab Ef, Iesu Grist." Dyddorol iawn ydyw Duw fel pwnc, eithr annhraethol mwy dyddorol a phwysig ydyw Duw fel cwmni. Ac nis gall neb ddirnad y gwmnïaeth fendigedig hon heb yr Yspryd Glân. Mae cyfoeth penaf yr Ysgrythyrau allan o gyraedd dirnadaeth y dyn diailenedig. Hyd yr wyf yn deall, nid yw llenorion, nac ond ychydig o dduwinyddion, yn gweled ond ychydig yn werth sylw arbenig yn y Salm Fawr, ar wahân i rifedi mawr yr adnodau sydd ynddi. Ac mae llawer o debygolrwydd i'w gilydd mewn ugeiniau o'r termau a'r ymadroddion sydd ynddi. Ond y mae yn gefnfor gogoneddus i gyngreddfau ysprydoledig dyn Duw, lle y gall nofio mewn nwyfiant a hyfrydwch gwastadol. Mae ei hymadroddion dwfn-ysprydol yn cynyrchu boddhad a symbyliad annesgrifiol fawr i enaid y gwir sant. "Ymddigrifaf," meddai y Salmydd, "yn dy orchymynion." Mor bell oddiwrth yr ysprydol y mae ffynonellau "*digrifwch*" hyd nod yr *average christian*, heb grybwyll plant y byd hwn! Y fath ruthro o eiddo proffeswyr crefydd am eu digrifwch at yr un pethau ag sydd yn difyru pechaduriaid! Ond mae y dyn gwir dduwiol yn tynu ei ddigrifwch o orchymynion uchaf Duw. Y fath graffter a mawrfrydedd yspryd a arddengys y Salmydd yn y datganiad acw, "Cymerais dy orchymynion yn *etifeddiaeth* dros byth." Cymaint

o aberthu gorchymynion Duw ar allor cyfoeth ac anrhydedd daearol a gymer le, hyd nod yn mhlith cristionogion. Ond yr oedd y Salmydd yn gwneud ei etifeddiaeth i fyny o orchymynion Duw. Ei *fortune* ef oedd cadw cyfraith ei Arglwydd. A dyma gyfoeth na raid ei *golli byth*, yn y byd hwn, nac yn y byd a ddaw. Eithr ni allasai ef, ac nis gall neb eto, feddu yr olwg hon ar orchymynion Duw oddieithr bod ei enaid wedi ei lanw â goleuni yr Yspryd Glân. Efe yn unig all oleuo yr enaid i fyny â gogoniant cyfraith Duw. Dan ddylanwad yr un olygfa ysprydol y dywed, mewn rhan arall o'r Salm, "Afonydd o ddyfroedd a redant o'm llygaid, am na chadwasant dy gyfraith di." Mae yr olygfa ddeublyg ar burdeb a pherffeithrwydd y gyfraith, a thlodi yr enaid anfarwol sydd yn ei throseddu, yn agor ffynonau gofid y Salmydd, nes mae yr afonydd yn rhedeg allan o'i lygaid. O! mor ychydig ohonom, fel cristionogion, sydd yn meddu y craffter a'r cydymdeimlad ysprydol hwn nes wylo uwchben cyflwr ysgafn, gwamal, a phechadurus y wlad yn yr oes arwynebol hon. Chwerthin yn yr olwg ar yr ochr ddigrifol i fywyd, ac nid wylo yn yr olwg wagsaw a disylwedd arno, ydyw gogwydd cynyddol yr oes hon. Pe disgynai yr Yspryd Glân ar yr eglwys, fe ddeuai llawer proffeswr crefydd oer, difater, ac anffyddlon, i wylo fel y Salmydd a Jeremia, gan ddywedyd, "O na bai fy mhen yn ddyfroedd, a'm llygaid yn ffynon o ddagrau, fel yr wylwn ddydd a nos am laddedigion merch fy mhobl." Dyma ddagrau ydynt effaith llewyrchiadau yr Yspryd Glân ar yr enaid effro.

Wedi myned trosodd i'r Testament Newydd, yr ydym ar unwaith yn cael ein gwynebu gan bregeth hynod Crist ar y mynydd. Ac mae y ddysgeidiaeth ysprydol gyflwynir ynddi yn ymestyn mor uchel, fel nas gall dysgedigion galluocaf y byd ei dirnad. Rhaid i'r cyngreddfau mwyaf ysprydol yn yr enaid gael eu goleuo a'u trydanu gan yr Yspryd Glân i ddilyn yr Iesu yn y bregeth hon. Ac wedi derbyn y cyfryw ysprydoliaeth i weled ardderchogrwydd y ddysgeidiaeth, mae y cristion yn aros yn grynedig uwchben y syniad o'i gweithio allan mewn bywyd ymarferol. Heb yr Yspryd Glân, y syniad cyntaf a ymgyfyd yn y meddwl ydyw, fod gweithio allan y bregeth hon mewn bywyd yn anmhosibl; eithr dan ddylanwad yr Yspryd teimlir ymgyfodiad i *plane* uchaf bywyd crefyddol. Ac er i ddynion orfod teimlo nas gallant, yn eu cyflwr ysprydol presenol, weled na gweithio allan, yn eu hymarweddiad, ddysgeidiaeth oruchel y bregeth hon, mae yn sicr yr ystyrient y sawl allai wneuthur hyny yn gymeriadau crefyddol teilwng o'u hedmygedd uchaf. Pe gwelent un, pan ei tarewid ar un rudd, a droai y llall—pan ddygai un ei bais, a gadawai iddo ei gochl hefyd—pan gymellid ef i fyned un filltir a elai ddwy filltir—a fendithiai y sawl a'i melldithient, ac a weddïai dros y sawl a wnelai niwed iddo, &c.,—diau yr ystyrient ef yn gymeriad cristionogol pur a pherffaith. Eithr arddangosfa grefyddol, heb ei deall yn iawn, fyddai i'r dysgawdwyr diailenedig mwyaf galluog. Mae gwirioneddau ysprydol teyrnas Dduw o gyraedd dirnadaeth pob un amddifad o oleuni yr Yspryd Glân. Ni ellir canfod ystyr ddyfnaf yr

ymadroddion, "anian dduwiol" a "chymdeithas gyda'r Tad a chyda'i Fab Ef, Iesu Grist," heb fod dan oruchwyliaeth yr Ysbryd tragwyddol.

IV.—Yn ngoleuni Duw, trwy ei Yspryd, y gwelwn oleuni y greadigaeth faterol, ar allu, doethineb, a gogoniant Duw.

Llawer sydd wedi ei ysgrifenu ar Grefydd Naturiol, a Chrefydd Ddatguddiedig. Yn ol dysgeidiaeth Dr. Martineau, y mae Crefydd Naturiol yn cynwys *dyn yn dod o hyd i Dduw*, a Chrefydd Ddatguddiedig yn cynwys *Duw yn dod o hyd i ddyn.* Eithr pwy sydd wedi dod o hyd i'r gwir a'r bywiol Dduw, yn gwbl annibynol ar i Dduw ddod o hyd iddynt hwy yn ei Air dwyfol? Nid wyf yn meddwl fod neb wedi perchenogi Crefydd Naturiol, ar wahân i gynorthwy Crefydd Ddatguddiedig. Mae dyn yn dod o hyd i Dduw fel effaith Duw yn dod o hyd i ddyn. "Y Duw nid adwaenir" ydyw i bawb ar wahân i ddatguddiad. Nis gwyddom am neb anwybodus hollol o'r Ysgrythyrau, na neb sydd yn eu hanwybyddu yn hollol, wedi dod o hyd i'r Duw anfeidrol alluog, doeth, da, a thrugarog. Tra y mae yr ymdrech ddiweddar i roddi cyfrif boddhaol am fodolaeth a datblygiad y greadigaeth, heb gyfrif ar fodolaeth Duw fel creawdwr a chynaliwr mawr, wedi bod yn fethiant, mae pob ymdrech i ddod o hyd i Dduw trwy y greadigaeth faterol yn unig, yn llawn cymaint o fethiant. Eithr wedi gwybod am Dduw trwy ddatguddiad fel creawdwr pob peth, yr ydym yn gallu ei adnabod trwy y greadigaeth. Wedi i Dafydd ei adnabod trwy ei Air

datguddiedig, gallodd yn rhydd ddatgan—"Y nefoedd sydd yn datgan gogoniant Duw, a'r ffurfafen sydd yn mynegi gwaith ei ddwylaw Ef," &c. Nid yw pontydd y Fenai, ac Eglwys St. Paul's, Llundain, yn datgan mai Stephenson, Telford, a Sir Christopher Wren, oeddynt eu cynllunwyr. Rhaid oedd i'r wybodaeth o hyny ddod i'n meddiant trwy sianel hanesyddol. Eithr wedi derbyn y wybodaeth hon, yr ydym yn gallu dod i gymdeithas hyfryd âg athrylith a thalent yr enwogion hyn trwy y cyfryw orchestweithiau. Yr un modd yr ydym yn gallu gloddesta ar athrylith doethineb a gallu Duw fel awdwr y greadigaeth, wedi o honom dderbyn dysgeidiaeth yr Ysgrythyrau ar y gwirionedd ei hun. Wedi dod o hyd i Dduw trwy ddatguddiad, yr ydym yn gallu cymdeithasu âg Ef trwy y greadigaeth. Yr ydym megys yn gweled prydferthwch ei wyneb yn mhob golygfa brydferth a godidog; a mawreddusrwydd ei lais yn sŵn pob taran, daeargryn, a chorwynt. Gwŷn ei fyd pob gwyddonydd enwog sydd wedi dod o hyd i'w Dduw cyfamodol yn y Beibl, a thrwy hyny yn medru efrydu y greadigaeth yn ngoleuni y Person dwyfol sydd yn greawdwr a chynaliwr yr oll.

V.—Yn ngoleuni Duw, trwy ei Yspryd, y gwelwn bob peth da a godidog yn cyd-grynhoi a chyd-ddisgleirio yn Nuw a Iesu Grist ei hun.

Arwydd diffyg perchenogaeth o gyflawnder goleuni a dylanwad yr Yspryd Glân ar y natur ysprydol, ydyw y duedd sydd mewn llawer o gristionogion i gymeryd golwg unochrog ac unweddog ar egwyddorion a bywyd

deiliaid teyrnas Dduw. Mae dyddordeb rhai yn unig yn yr athrawiaeth. Mae dyddordeb ereill yn unig yn yr eglwys—ei chorfforiad, ei defodau, a'i holyniaeth ddynol. Rhoddant fwy o bwys ar eglwys Crist, nag ar Grist yr eglwys—ar gorff yr eglwys, nag ar "Ben corff yr eglwys." Methant ddod o hyd i Grist ond yn mhendraw cadwen o ddynion am ddwy fil o flynyddoedd. Yn lle myned at ddynion trwyddo Ef, ag sydd yn wastadol gyda'i bobl, maent yn myned trwy ddynion gwaelion a llygredig, lawer ohonynt, ato Ef. Cyfynga ereill eu dyddordeb i foesoldeb ac elusengarwch. Eithr i'r dyn ysprydol, mae yr oll yn cyd-grynhoi iddo Ef, ac yn cyd-ddisglaerio ynddo Ef. Efe ydyw ffynonell ac ysprydoliaeth pob myfyrdod, brwdfrydedd, a gwasanaeth. Ac y mae pob peth na ddeil oleuni llachar ei bresenoldeb Ef, yn gorfod diflanu o fywyd sant o flaen ei ddisgleirdeb Ef. O mor ogoneddus ydyw gallu gweled yr Iesu yn ei ardderchogrwydd yn nghanol pob peth da, a'r pob peth da hyny yn gorddisgleirio yn ngoleuni llachar ei bresenoldeb Ef. Onid dyma'r olwg orchfygol a daflodd Ioan ar ei wyneb fel un marw yn Patmos? Mor arddunol ydyw ei adroddiad desgrifiadol byw o'r hyn a welodd o'r Crist gogoneddedig. "Ac mi a droais i weled y llef a lefarai wrthyf. Ac wedi i mi droi, mi a welais saith ganwyllbren aur; ac yn nghanol y saith ganwyllbren, un tebyg i Fab y dyn, wedi ymwisgo â gwisg laes hyd ei draed, ac wedi ymwregysu yn nghylch ei fronau â gwregys aur. Ei ben ef a'i wallt oedd wŷnion fel gwlân, cyn wŷned a'r eira; a'i lygaid fel fflam dân. A'i draed yn debyg i bres coeth,

megis yn llosgi mewn ffwrn, a'i lais fel sŵn llawer o ddyfroedd. Ac yr oedd ganddo yn ei law ddeau saith seren ; ac o'i enau yr oedd cleddau llym dau-finiog yn dyfod allan ; a'i wynebpryd fel yr haul, yn disgleirio yn ei nerth," &c. Yma gwelir mai Efe ydyw canolbwynt gogoniant pawb a phob peth. Yn eu perthynas âg Ef y mae gwerth a harddwch yr oll, ac ohono Ef y derbynia yr oll eu harddunedd, eu hyni, a'u gogoniant. Eithr y mae bod yn ddeiliad gweinidogaeth arbenig yr Yspryd Glân yn hanfodol er gallu gweled a sylweddoli yr olygfa hon yn yr eglwys. Unochrog a rhanol fydd yr olwg a geir ar odidogrwydd dinas Duw heb oleuni Duw trwy ei Yspryd ar yr enaid. Mae yr hyn a guddir o ogoniant teyrnas Dduw, oherwydd diffyg ysprydolrwydd mewn cristionogion, yn annhraethol fwy ardderchog na'r hyn a ddatguddir yn ngrym athrylith, talent, ac addysg. Yn ngoleuni Duw, trwy ei Yspryd, y gwelwn olygfeydd ysprydol, a'n lleinw â nerth ac yni i fyw a marw, a byw drachefn yn oes oesoedd, ac yn wir i beidio *marw* o gwbl. "A'r hwn sydd yn fyw, ac yn credu ynof fi, ni bydd *marw* yn dragywydd." Crist, y pryd hwnw, fydd yn lapio y cwbl yn ei ogoniant personol ei hun. Bydd yr athrawiaeth, yr organyddiaeth eglwysig, ac hyd nod yr eglwys ei hun, yn ymgolli yn ysplander presenoldeb personol y Gwaredwr. "Crist yn bob peth ac yn mhob peth." Yr oedd Duw *yn* mhob peth Job tra yr oeddent yn ei feddiant, ac wedi iddo eu colli daeth Duw *yn* bob peth iddo. A phan gyraedda y cristion gartref i'r hyfryd wlad, ceir golwg lawn ar yr olygfa hon, a ddesgrifir gan Ioan, yn oes oesoedd. A dyma fydd yn

cynyrchu yr *Hallelujah Chorus*, a genir yno byth yn fawl i Waredwr mawr y byd.

Mor bwysig, gan hyny, ydyw cyflawni amod derbyniad yr Yspryd Glân, i roddi ynom y goleuni hwn i weled goleuni yr Ysgrythyrau a chreadigaeth Duw, fel y maent yn arddangos ei allu, ei ddoethineb, a'i gariad Ef. "Datguddia fy llygaid fel y gwelwyf bethau rhyfedd allan o dy gyfraith di." Amen.



# JOB.

"*Yr oedd gŵr yn ngwlad Us a'i enw Job; ac yr oedd y gŵr hwnw yn berffaith ac yn uniawn, ac yn ofni Duw, ac yn cilio oddiwrth ddrygioni.*" "*Yn hyn i gyd ni phechodd Job, ac ni roddodd yn ynfyd ddim yn erbyn Duw*" (JOB I. 1, 22). "*Ond efe a ddywedodd wrthi, Llefaraist fel y llefarai un o'r ynfydion: a dderbyniwn ni gan Dduw yr hyn sydd dda, ac oni dderbyniwn yr hyn sydd ddrwg?*" (PEN. II. 10). "*A'r Arglwydd a dderbyniodd wyneb Job*" (PEN. XLII. 9).

JOB oedd y cymeriad crefyddol puraf a pherffeithiaf ar y ddaear yn y cyfnod hwnw. Tystiolaeth y Duw hollwybodol ac oll-dda ydoedd, nad "oedd cyffelyb iddo ar y ddaear" yn nisgleirdeb ei gymeriad. Yr oedd yn ŵr "perffaith,"—cymesurol yn holl ochrau ac agweddau cymeriad da; ac felly yn "uniawn"—yn ddiwyro oddiwrth linell uniawn cyfraith yr Arglwydd. Yn "ofni," neu yn caru Duw, nes ofni yn serchog ei anfoddhau ac anufuddhau i'w orchymynion Ef; ac felly yr oedd o angenrheidrwydd ei natur ysprydol "yn cilio oddiwrth ddrygioni"—*pob* drygioni. Ategir y dystiolaeth ddwyfol hon (pe yn angenrheidiol) gan holl ffeithiau yr hanes yn eu cydberthynas â Job. Nid wyf am ymdrafferthu am foment anturio i'r ddadl pa un ai hanes ynte *drama* ydyw llyfr Job, gan mai yr un gwirioneddau mawrion a ddysgir trwy y naill a'r llall. Mae gwersi damegion Crist mor

bwysig a gwirioneddol a'r eiddo ei hanes. Mae desgrifiad dameg y Mab Afradlon mor fyw a chywir o ddyn mewn cyflyrau arbenig ag ydyw hanes y dyn ieuanc yn yr efengyl. Yn gyffelyb, nid yw llyfr Job yn llai pwysig i ni pa un bynag ai hanes ai *drama* ydyw.

Fe osodir cymeriad crefyddol Job gerbron fel mater o ddadl rhwng Duw a'r diafol. Desgrifir meibion angylaidd, neu lysgenadon Duw, yn ymddangos ger ei fron, o bosibl i roddi cyfrif o ryw oruchwyliaeth bwysig. Mae y diafol yn ymddangos yn eu plith, ger ei fron Ef, yn ddilynol i ymdaith ymchwilgar, gynhyrfus, a gorwyllt, yma ac acw ar y ddaear; ac ar yr ymdaith ddichellaidd hono, mae wedi nodi allan Job, gwas yr Arglwydd, i'w ddifetha. Onid un o brif *tactics* y diafol yn mhob oes ydyw ymddangos yn mhlith meibion Duw gyda'r amcan o wenwyno cylchoedd a phersonau daionus? Y diafol yn ymddangos yn mhlith meibion Duw lygrodd yr eglwys gyntefig, nes iddi ymddadblygu yn Babyddiaeth aflan a thwyllodrus. Y diafol yn ymddangos yn mhlith meibion Duw ydyw y ddefodyddiaeth hagr sydd yn lefeinio Eglwys Brotestanaidd Lloegr âg egwyddorion peryglus y Babaeth yn yr oes hon. Y diafol yn ymddangos yn mhlith meibion Duw ydyw yr yspryd a'r gwallgofrwydd cystadleuol a hap-chwareuol sydd bron a holl-feddiannu a thrwytho yr eglwysi ymneillduol yn y cyfnod presenol. A'r diafol yn ymddangos yn mhlith meibion Duw ydyw yr ysfa sydd mewn amrai o ysgolfeistriaid ag sydd yn arddangos llawn mwy o sêl dros i'w hysgolorion fod yn *footballers* a *cricketers* medrus, na bod yn ysgoleigion gwych. Ac yn wir, mae rhai ohonynt yn

wancus am wneud *sporting characters* o'r efrydwyr. Nis gallaf ymryddhau oddiwrth yr argyhoeddiad mai un o ymladdfeydd goreuon yr eglwys yn y dyfodol fydd yn erbyn y dylanwad niweidiol hwn, ag sydd yn aros yn meddyliau pobl ieuainc wedi iddynt orphen tymor eu haddysgiant. Mae ymarferiad corfforol yn dra phwysig i bobl ieuainc yn ystod y cyfnod hwn; eithr mae y meddwdod meddyliol, a'r chwareuon, yn rhwym o fod yn andwyol i gymeriad iach ac urddasol.

Wedi ymddangosiad Satan gerbron yr Arglwydd, y gair cyntaf a gafodd oddiwrth yr Arglwydd ydoedd, "A ddeliaist ti ar fy ngwas Job?"—A wyt ti wedi ei *farcio ef allan* i fod yn ysglyfaeth i ti? A wyt ti wedi gosod dy fryd ar ddinystrio y cymeriad perffeithiaf ar y ddaear? A dyma lle y dechreua y ddadl rhwng Duw a Satan parthed purdeb a pherffeithrwydd cymeriad Job. Dadleua Satan nad oedd ei ddaioni ond adlewyrchiad amgylchoedd ffafriol yn peri iddo ymddangos yn dda—nad oedd ond symudliw *(chameleon)* ysprydol yn derbyn arlliwiau y pethau oedd o'i gwmpas—ac y buasai newidiad y cyfryw amgylchoedd yn sicr o effeithio newidiad ymddangosiadol arno yntau—nad oedd yn berchenog cymeriad glân ar wahân i amgylchiadau. "Croen am groen," meddai, "a'r hyn oll sydd gan ŵr a ddyry efe am ei einioes." "Eithr estyn yn awr dy law, a chyffwrdd â'r hyn oll sydd ganddo, ac efe a'th felldithia di o flaen dy wyneb." Eithr gwyddai yr Arglwydd fod Job yn gymeriad trwyadl bur, yn gwbl annibynol ar ei amgylchiadau. Ac efe a ddywedodd wrth Satan, "Wele ef yn dy law di; eto *cadw ei hoedl ef.* Mae y frwydr oll i fod

ar y ddaear o'r dechreu i'r diwedd. Pe caffet ti dy ryddid i'w ladd, ti a wnaet bob ymdrech i argyhoeddi y byd dy fod yn orchfygwr Job, ac wedi llwyddo i'w lusgo i dŷ caethiwed tragwyddol dy hun. Na, nid wyt i gymeryd ymaith ei hoedl, gan fod arnaf eisieu eich dangos i'r byd dranoeth wedi y frwydr, ac am byth ar ol hyny. Mae y byd yn hynod barod i dy gredu di byth er pan syrthiodd dan dy gyfaredd yn Eden. Dyna Job, gan hyny, yn dy law di i wneuthur iddo beth a fynot ond ei amddifadu o'i einioes." A sylwedd yr oll ydyw adroddiad bywiog a disglaer o'r ymladdfeydd ofnadwy hyn, a buddugoliaeth ogoneddus yr Arglwydd a Job. Mae yr holl gwrsweithrediad yr aeth Job trwyddo yn arddangosiad ardderchog o ogoniant ei gymeriad crefyddol; ac yn bortread cywir o'r hyn y dylai cymeriad pob cristion fod ar y ddaear.

Y gwirionedd mawr a ddysgir i ni yn ngoleuni holl ddysgeidiaeth y llyfr hwn ydyw

GALLU CYNALIAETHOL GWIR GREFYDD YN AMGYLCHIADAU CYFNEWIDIOL A GWRTHDARAWOL Y BYWYD PRESENOL.

Diau fod amgylchiadau bywyd, yn gystal a chymeriad crefyddol Job, yn hynod o eithriadol. Ychydig o blant dynion sydd wedi eu dwyn trwy amgylchiadau mor amrywiol a gwrthgyferbyniol ag ef; ac ychydig iawn a brofasant y fath gyfnewidiadau mewn amgylchoedd ddaethant allan fel efe—yn gyffelyb i aur wedi ei buro trwy dân. Eithr mae yr oll—yr amgylchiadau a'r cymeriad—o fewn cylch posibilrwydd rhagluniaeth a gras

Duw. Ac mae yr oll yn arddangosiad godidog o adnoddau dihysbydd trugaredd yr Arglwydd. Dysgir yn

I.—Fod gwir grefydd yn allu i gynal yr enaid yn nghanol dylanwadau cyfoeth ac anrhydedd bydol.

Mewn cyfoeth, a safle o anrhydedd bydol, yr oedd Job "yn fwyaf o holl feibion y dwyrain." Yr oedd ei "olud yn saith mil o ddefaid, a thair mil o gamelod, a phum' can iau o ychain, a phum' cant o asenod, a llawer iawn o wasanaethyddion" neu hwsmonïaeth. Mae ei ddesgrifiad ef ei hun o ddyddiau ei ogoniant, pan yn eu hadolygu o ddyddiau ei ddarostyngiad, yn hynod darawiadol a thoddedig. "Pan oedd yr Hollalluog gyda mi," meddai, "a'm plant o'm hamgylch! Pan olchwn fynghamrau âg ymenyn, a phan dywalltai y graig i mi afonydd o olew! Pan awn i allan i'r porth trwy y dref; pan barotown fy eisteddfa yn yr heol; llanciau a'm gwelent ac a ymguddient; a henuriaid a gyfodent, ac a safent i fyny. Tywysogion a atalient eu hymadroddion, ac a osodent eu llaw ar eu genau. Pendefigion a dawent â sôn, a'u tafod a lynai wrth daflod eu genau," &c. (pen. xxix. 5—10). Gwelir oddiwrth hyn oll fod ei gofoeth, ei barch, ei ddylanwad, a'i awdurdod, yn oruchel. Taflai ofn ar fechgyn gwamal y wlad, a moesgrymai mawrion y tir ger ei fron. Yr oedd yn mwynhau goreuon y ddaear, yn faterol a chymdeithasol. Nis gall yr uchelgais dynol mwyaf awchus ddychmygu am safle ddaearol fwy ardderchog nag a feddiannai y gŵr mawr o wlad Us.

Os gellir ei gadw dan reolaeth cymeriad da, mae

cyfoeth ac anrhydedd daearol yn allu manteisiol iawn i wneuthur daioni cymdeithasol. Eithr ei gadw dan reolaeth, yn hytrach na chael ein rheoli ganddo, sydd un o orchestion mwyaf bywyd. Gwas da, eithr meistr creulon, ydyw anrhydedd bydol. Natur ei ddylanwad anfanteisiol ydyw yr *hudoliaethus* a'r *swynol*. Cynwysa gwir grefydd enilliad y serch a'r bryd gan bethau anweledig a phell; eithr y mae mewn cyfoeth ac anrhydedd daearol ddisgleirdeb a gogoniant gweledig ac agos, ag sydd yn peryglu enill y serch oddiar yr anweledig. Llygad-dynu plant dynion y mae cyfoeth bydol; a denu yr enaid oddiwrth gerddoriaeth y byd ysprydol y mae seiniau hyfryd anrhydedd y byd hwn. Mae ei hudoliaeth yn gyffelyb i'r eiddo y *Sirens*, a ddesgrifir yn chwedloniaeth Groeg. Dwy o rianod oedd y rhai hyn yn eistedd ar làn y môr, pa rai a swynent y mordeithwyr â'u cân gyfareddol. Ac yr oedd y swyn mor orthrechol fel os clywid eu cân unwaith nas gellid morio yn mhellach, eithr aros dan eu mesmeriaeth hyd angau. O dan gyfarwyddyd Ciree, mae Ulysses yn rhwymo ei hun wrth yr hwylbren, ac yn llenwi clustiau ei ganlynwyr â chŵyr. Fel hyn y galluogwyd ef i glywed y gerddoriaeth gyfareddol heb roddi ffordd i'w ddylanwad, a chael felly ei ddinystrio ganddynt. Denu a dinystrio miloedd y mae cyfoeth y byd hwn, a dyma lle yr erys ei dwyll ofnadwy. Dyma, hefyd, mae yn sicr, sydd yn cyfrif am y ffaith mai "ychydig o gyfoethogion a alwyd." Cymaint o bobl sydd yn cael eu hudo i wario eu cyfoeth er cyfarfod â blysiau a gwyniau llygredig dynoliaeth syrthiedig. Mae cyfoeth yn swyno athrylith

a dysgeidiaeth uchel i ddyfeisio a ffurfio ffynonellau o fwyniant pechadurus. A siarad yn ddynol, yr oedd Job, fel eraill, yn nghyraedd sŵn cerddoriaeth y *Sirens* hyn. Ond meddai Job gymeriad ysprydol a'i gwnaethai yn orchfygwr perffaith ar yr oll. Nid rhwymo ei hunan wrth unrhyw hwylbren, na llenwi ei glustiau âg unrhyw gŵyr a wnaeth efe, eithr dod i feddiant o lygad a chlust ysprydol, i weled a chlywed swynion annhraethol fwy cyfareddol na'r eiddo holl gyfoeth y byd hwn. Yn ol y chwedloniaeth grybwylledig, canai y *Sirens* ddynion i farwolaeth, ond os methent, byddent feirw eu hunain. Pan oedd yr Argonauts yn myned heibio, gorchymynodd Jason i Orpheus gyffwrdd ei delyn ; ac mae cyfaredd ei gerddoriaeth yn fwy na'r eiddynt hwy, a galluogwyd yr Argonauts i forwrio yn mlaen yn ddiogel, tra y taflodd y *Sirens* eu hunain i'r môr, gan gael eu trawsffurfio yn greigiau. Felly y galluogwyd Job i ddal swynion y byd hwn, gan gyfaredd mwy y byd ysprydol. Yr oedd yn gallu, trwy ffydd a chariad, sylweddoli yr anweledig a'r tragwyddol, a'u tynu yn nes ato ei hunan na'r gweledig a'r materol. Yr oedd yn gallu claddu amser yn nhragwyddoldeb, a chladdu y ddaear weledig yn y nefoedd anweledig. Yr oedd ei fywyd daearol wedi ei drwytho a'i oll-feddiannu gan ei fywyd ysprydol, a dyma roddai iddo y fath feistrolaeth a llywodraeth dros ei gyfoeth a'i safle uchel yn ei wlad. Yr oedd mor gyfoethog o ras, nes gallu gweled mai gwasanaeth briodol ei gyfoeth bydol ydoedd lleddfu dioddefiadau tlodion ac amddifaid, &c. ; a gwasanaeth briodol ei safle a'i ddylanwad mewn bywyd oedd cynorthwyo a sirioli calonau pobl ereill.

Yr oedd tragwyddoldeb mor lwyr yn ei feddwl, nes y gallodd gyflwyno ei bethau amserol a daearol i bobl ereill. "Gwaredai y tlawd a fyddai yn gwaeddi, a'r amddifad, a'r hwn ni byddai cynorthwywr iddo;" gwnai "i galon y wraig weddw lawenychu;" "llygaid oedd i'r dall, a thraed i'r cloff;" "tad ydoedd i'r angenog, a'r cŵyn ni wyddai a chwiliai allan" (Pen. xxix. 12—16). Mae y cyfryw lywodraeth a hwn dros gyfoeth yn arwydd sicr o reolaeth sylweddau ysprydol dros yr enaid. Mae bod yn ddeublyg gyfoethog yn orchestwaith bywyd. Mae'n anhawdd meddwl am gymeriad uwch na'r eiddo y rhai y mae cyfoeth ysprydol eu henaid yn meddu llywodraeth drwyadl ar eu cyfoeth tymorol. A dyma un nodwedd odidog yn nghymeriad Job; ac yr oedd ei holl fywyd yn nghyfnod ei lwyddiant yn gwneud haeriad y diafol mai effaith ei amgylchoedd oedd ei ddaioni, yn hollol anghywir ac anathronyddol. O! pa bryd y daw nifer luosocach o gyfoethogion eglwys Crist i fod yn ddigon cyfoethog o ras yr efengyl i lywodraethu eu cyfoeth enfawr er mwy o fantais i lwyddiant teyrnas Dduw ar y ddaear?

II.—Fod gwir grefydd yn allu digonol i gynal ei pherchenog yn y tlodi mwyaf a'r afiechyd dyfnaf.

Natur dylanwad tlodi a chystudd ar bobl amddifad o gymeriad crefyddol goruchel ydyw eu dirlethu, eu ffwndro, eu gwylltio, eu chwerwi, dileu eu hunan-barch a'u hunan-feddiant, neu lenwi eu heneidiau â dibrisdod am bawb arall, ac am bob peth uwchraddol a phur

parthed iddynt eu hunain. Mewn tlodi a chystudd mae yr hunanaeth, sydd yn hanfod pechod, yn cael ei ddatguddio yn ei annymunoldeb mwyaf.

Yr oedd tlodi a chystudd Job yn eithriadol o ran gradd a ffurfiau. Yr oedd ei dlodi yn drwyadl. Collodd ei holl eiddo a'i feddiannau. Collodd ei holl deulu, ond ei wraig, a buasai y diafol wedi ei chymeryd hithau, hefyd, oni bai ei bod o wasanaeth arbenig iddo ef i orchfygu Job. Ac mae llawer gwraig eto yn gryn gymorth i'r diafol i andwyo llwyddiant a hapusrwydd teuluol. Yn chwanegol at hyn oll, collodd Job ei gyfeillion oll. Diau y credai rhai ohonynt yr hyn a haerai y diafol, nad oedd daioni Job ond adlewyrchiad amgylchoedd ffafriol, ac oblegid hyny mae eu rhwymedigaeth oedd ei adael. Distaw iawn oedd y gweddwon a'r tlodion a gynorthwyid ac a gysurid ganddo lawer tro. Ac yn hyn nid oeddent ond cyffelyb i blant dynion yn mhob oes, ac eithrio perchenogion gwir grefydd. Dywedai Dr. Guthrie yr ymddyga y gymdeithas ddynol at eu gilydd fel yr ymddygwn yn gyffredin at aur-afalau *(oranges)*—wedi cymeryd yr holl sudd ohonynt, ni a'u taflwn dros y mur i'r domen! Wedi i weddwon, amddifaid, a thlodion y wlad hono weled fod yr adnoddau oedd yn Job i gyfranu at leddfu eu dioddefiadau hwy wedi hysbyddu, buan y gadawsant ef heb unrhyw arwydd o gydymdeimlad âg ef yn ei dlodi mawr. Yn awr, edrychwch ar foneddwr cyfoethocaf ac enwocaf gwlad Us heb gartref, amgen na lludw y domen tuallan i'r ddinas. Dyma ei drigfan ddydd a nos, yn mysg tlodion y llwch a rhai angenus y

tomenau, ac wedi ei adael wrtho ei hun gan hyd nod y rhai fuasent byw am flynyddau ar ei garedigrwydd.

Eithr at y tlodi eithafol, cafodd y diafol ryddid i'w flino â'r cystudd mwyaf annioddefol i gîg a gwaed. "Felly, Satan a aeth allan oddi gerbron yr Arglwydd, ac a darawodd Job â chornwydydd blin, o wadn ei droed hyd ei goryn." Ymddengys fod rhywbeth yn natur yr afiechyd hwn yn ffafriol iawn fel offerynoliaeth yn llaw y diafol er effeithio ar feddwl ac ar dymer Job. Yr oedd tuedd ynddo i *irritatio* ei yspryd. A dyna oedd ar y gelyn mawr eisieu. Ei nôd ef oedd cael Job i rwgnach, chwerwi, "dywedyd pethau ynfyd yn erbyn yr Arglwydd," ac os yn bosibl "ei felldithio o flaen ei wyneb." Cynwysai y cornwydydd hyn friwiau tanllyd, poenus ac ysol, aflan a gwenwynig. Yr ysu ofnadwy oedd yn galw am y "gragen i ymgrafu â hi," a hono, drachefn, yn gwneud yr archollion yn fwy ofnadwy. Ymddengys ei fod yn effeithio nid yn unig ar y cnawd, eithr hefyd ar yr esgyrn. Mae ei ddesgrifiad ef ei hun o'i ddioddefiadau yn ddigon i doddi y galon galetaf, a chynyrchu tosturi mewn adamant. Yr oedd yn ddeiliad y fath ddioddefiadau, ac ysfa yn gymysgedig, nes y brathai ei gnawd—"cymerwn fy ngnawd yn fy ngenau." Yr oedd ei "wyneb yn fudr gan ddagrau," a theimlai fod angau mor agos ato nes y meddyliai ei fod yn lluchio ei gysgodion ar ei amrantau. Yr oedd ei "esgyrn yn glynu wrth ei groen a'i gnawd." Yr oedd ei groen a'i gnawd wedi sychu i fyny i'r fath raddau fel yr ymddangosai yr esgyrn fel pe yn glynu yn y croen, hyd nes yr oedd ffurf yr esgyrn yn y golwg. Golyga hyny y

teneuwch mwyaf eithafol. Nid oedd ond "croen ei ddanedd" wedi dianc o gyraedd yr afiechyd. Yr oedd ei boenau yn tyllu ei esgyrn megys â minawyd. Ac nid oedd ei gïau, neu yn ol y Cyfieithiad Diwygedig, ei *boenau* yn gorphwys. Nis gwn am neb sydd mewn dioddefiadau nad ydynt yn cael rhyw egwyl a hamdden weithiau; eithr nid oedd poenau Job yn gorphwys o gwbl, yr hyn a ddengys fod y diafol yn gwneud defnydd o'i brif *tactics* i ddinystrio Job, ac aflonyddu ei gymundeb â Duw. Nid rhyfedd, gan hyny, fod "ei groen yn duo, a'i esgyrn yn llosgi." Yn awr, ni raid ond ceisio darlunio y tlodi a'r cystudd ofnadwy hwn gerbron ein meddyliau ein hunain, a chymharu ei gyflwr presenol â'r hyn ydoedd ychydig amser yn flaenorol, na ellir sylweddoli ei fod wedi ei osod yn y safle fwyaf anhawdd i ymgadw yn ffyddlon i'r Arglwydd yn mhob peth. Eithr "yn hyn i gyd ni phechodd Job, ac ni roddodd yn ynfyd ddim yn erbyn Duw." Er colli golwg ar Dduw yn ngweinyddiadau ffafriol ei ragluniaeth, ni chollodd olwg ar ei gariad a'i ogoniant o gwbl; oblegid o ganol ei helynt y datganodd mor hyderus, "mi a wn fod fy Mhrynwr yn fyw," &c. Meddai y fath ffydd yn nhegwch Duw, nes ynddo Ef yr oedd yn gallu gweled rhyw ddyfodol gwell iddo ei hun, hyd nod "yn ei gnawd." Diau nad oedd ganddo unrhyw brogram parthed y dyfodol, ond yr oedd ganddo y fath hyder yn mherffeithrwydd cymeriad Duw, nes meddu sicrwydd y byddai ei ddyfodol yntau yn gyson â hyny. Ac yr oedd ei ymwybyddiaeth o "wreiddyn y mater" yn ei galon ei hun, fel amod fawr y ffyddlondeb dwyfol, yn

cryfhau ei obaith am gyfnod gogoneddusach yn y dyfodol. Eithr y fath nerth oedd yn angenrheidiol i'w ffydd a'i gariad beidio edwino a gwywo yn y fath ddioddefiadau ag yr aeth efe trwyddynt.

III.—Fod gwir grefydd yn allu cynaliaethol mewn disgyniad sydyn o gyfoeth i dlodi, ac o iechyd i gystudd.

Mae crefydd sylweddol yn angenrheidiol i orchfygu swynion cyfoeth ac anrhydedd, ac i orchfygu pwysau dirwasgol tlodi, hyd nod i'r rhâi sydd wedi eu meithrin o'r bru yn y safleoedd hyny. A dyna, mae'n debyg, y cyfrif am y ffaith mai ychydig o rai cyfoethogion iawn, ac o rai tlodion iawn, sydd gadwedig. Mae hyn yn gwneud cyfnewidiad safle yn fwy anhawdd fyth ei ddal. Eithr y mae *disgyniad sydyn* y dyn ddygwyd i fyny mewn cyfoeth ac anrhydedd, i'r tlodi dyfnaf ac o'r iechyd llawnaf i'r cystudd mwyaf annioddefol, yn galw am yr hunan-feddiant anmhosibl i neb ond sydd yn gallu ymlonyddu ac ymorphwyso yn y cymundeb agosaf â Duw. Nid oes dim mwy gwrthdarawol i natur dyn na chyfnewidiadau mawr a sydyn. Datblygiad graddol yn unig sydd fwyaf goddefol i ddyn mewn corff a meddwl. Mae *shock* y peth mwyaf gwrthwynebus gan y mwyafrif o blant dynion. Mae hyd nod dderbyniad *telegram* yn lle llythyr yn rhoddi braw i laweroedd. Dyma sydd yn gwneud damweiniau bywyd mor ddirlethol, ac yn haner gwallgofi y rhai dieithr i ras Duw fel gallu mawr llywodraethol yr enaid.

Yn Job ceir engrafft o ddisgyniad sydyn o ddau

eithafion uchel i ddau eithafion isel—o ucheldera cyfoeth i ddyfnderau tlodi—o iechyd llawn i'r afiechyd mwyaf poenus ac aflan. Nid anmhriodol galw ei afiechyd ef yn *elephantasis*, oblegid rhyw *elephant* o gystudd ydoedd, ac nis gellir meddwl am ei fwy a'i ffieiddiach.

Eithr sydynrwydd ei ddisgyniad oedd yn ofnadwy. Mor agos i'w gilydd oedd ymweliadau cenadon newyddion drwg. Pan oedd ei blant oll yn mwynhau eu hunain mewn "bwyta ac yfed gwîn yn nhŷ eu brawd hynaf," "daeth cenad at Job, ac a ddywedodd, Yr ychain oedd yn aredig, a'r asenod oedd yn pori gerllaw iddynt; a'r Sabeaid a ruthrasant, ac a'u dygasant ymaith; y llanciau hefyd a darawsant hwy â min y cleddyf." Cyn i hwn orphen cyflwyno ei genadwri, mae un arall yn rhuthro i mewn, a bron am wasgu yr eiddo yntau ar draws y llall, gan ddywedyd, "Tân Duw a syrthiodd o'r nefoedd, ac a losgodd y defaid, a'r gweision, ac a'i hysodd hwynt." Ond "*tra* yr oedd hwn yn llefaru, un arall hefyd a ddaeth, ac a ddywedodd, Y Caldeaid a osodasant dair byddin, ac a ruthrasant i'r camelod, ac a'u dygasant ymaith, ac a darawsant y llanciau â min y cleddyf." Ond mae y cenadon nid yn unig yn dilyn eu gilydd yn gyflym, ond yn dod a newyddion mwy trallodus. Mae y genad nesaf yn dod â'r genadwri fwyaf galonrwygol o'r oll. "Dy feibion a'th ferched oedd yn bwyta ac yn yfed gwin yn nhŷ eu brawd hynaf; ac wele, gwynt mawr a ddaeth oddiar yr anialwch, ac a darawodd wrth bedair congl y tŷ, ac efe a syrthiodd ar y llanciau, a buont feirw." Dyma Job wedi colli ei eiddo a'i deulu ar unwaith. Yn gyffelyb y cystuddiwyd ef.

"*Tarawodd* Satan Job â chornwydydd blin, o wadn ei droed hyd ei goryn." Rhuthrodd yr *elephant* hwn arno ar unwaith, ac andwyodd ei gnawd a'i esgyrn mewn munudyn.

"Ond yn hyn i gyd ni phechodd Job â'i wefusau." Yr oedd cyfansoddiad ei ddyn newydd mor gadarn, fel y gallodd saethu trwy y Niagra hwn heb ddim mwy na syfrdaniad am y foment. Ni anmharwyd ei iechyd ysprydol o gwbl. "A dderbyniwn ni, gan hyny," meddai wrth ei wraig, "gan Dduw yr hyn sydd dda, ac ni dderbyniwn yr hyn sydd ddrwg." Dyma gyflwr meddwl oedd yn ei alluogi i gymeryd yn ganiataol fod pob gweinyddiad o eiddo yr Arglwydd yn anffaeledig, pa un bynag ai dymunol neu annymunol fyddo i gîg a gwaed. Ac nis gellir meddwl am unrhyw gyflwr ysprydol llai gogoneddus na hwn, fuasai yn aros heb ei niweidio gan ddisgyniadau mor eithafol fawr a sydyn. Rhaid fod ei enaid wedi ei drwytho gan ddylanwadau ysprydol, a'i orlanw â nerthoedd dwyfol.

### IV.—Fod gwir grefydd yn galluogi ei pherchenog i ddioddef cymeryd ei guro ar lawr.

Mae'n anmhosibl dychmygu am gyflwr mwy gorthddrechol i natur dyn na chael ei guro ar lawr, a hyny gan y rhai y disgwylid mwyaf oddiwrthynt, a hyny yn ebrwydd wedi disgyniad sydyn o gyfoeth, anrhydedd ac iechyd, i dlodi, gwarth ac afiechyd. Dyma'r safle annesgrifiol boenus y dygwyd Job iddo.

Diau mai i gymeryd rhan yn y gorchwyl annheilwng hwn yr arbedodd Satan fywyd gwraig Job. Dichon

mai annheg fuasai darlunio gwraig Job fel y *type* gwaethaf o wraig anystyriol ac anynad fu ar y ddaear. Gall ei bod yn wraig dda a defnyddiol iddo mewn ystyr dymhorol—yn eithaf gwraig boneddwr cyfoethog,—yn meddu digon o bethau y bywyd hwn i'w gosod wrth ei llaw yn wastadol. Ni cheir awgrym ei bod yn anghymwys iddo yn nghyfnod ei ogoniant. Ni ellir casglu ei bod yn gwarafun iddo wario ei eiddo ar dlodion ei wlad, a chwilio am gŵynion ni wyddai amdanynt, tra y gallai wneuthur hyny heb wasgu ar ei amgylchiadau ef a hithau. Eithr wrth edrych arni oddiar safle grefyddol ac ysprydol bur, mae'n amlwg ei bod yn byw mewn cyflwr o ddallineb ysprydol a'i hanalluogai i adnabod Duw a'i phriod ei hun. Mae'n sicr ei bod yn coleddu y syniad cynwysedig yn haeriad Satan gerbron Duw—mai dylanwad amgylchoedd ffafriol a dymunol oedd yr holl ddaioni a nodweddai fywyd Job. A diau mai dyma'r paham y cadwodd Satan hi yn fyw. Mae efe eto, mae lle i ofni, yn cadw ambell i wraig anystywaeth yn fyw yn hir iawn. Mae'n amlwg, hefyd, ei bod yn ddwfn yn ngafael y cyfeiliornad fod Duw yn cilio oddiwrth, ac yn ddigllawn wrth y rhai y byddai yn caniatau iddynt ddisgyn yn eu hamgylchiadau bydol—mai y cyfryw amgylchiadau oedd yn penderfynu y lle oedd gan ddynion yn serch yr Arglwydd. Mae ei hymddygiad at Job yn profi dau beth pwysig, sef (1) *Amddifadrwydd hollol o syniad gwir ysprydol am Dduw.* Edrychai arno, fel y gwna llawer eto, fel pe na buasai yn dda i ddim ond i weini arnynt hwy mewn pethau daearol. Beth ond hyn all fod yn llywodraethu yspryd ambell i hen ffarmwr

Cymreig, na welir byth yn nhŷ yr Arglwydd ond mewn cyfarfod gweddi diolchgarwch am y cynhauaf unwaith yn y flwyddyn? Beth ond hyn a lywodraethai ei hyspryd hi, pan y gofynodd i Job, "A wyt ti yn parhau yn dy berffeithrwydd?"—neu, yn ol y Cyfieithiad Diwygiedig, "yn dy burdeb,"—"melldithia,"—neu, yn ol y Cyfieithiad Diwygedig, "ymwrthod â Duw," ac yn ol Rosenmuller, "ffarwelia â Duw" Nid oedd hi yn gweled teilyngdod o barch ac anrhydedd yn Nuw ond i'r graddau yr oedd yn defnyddio ei adnoddau i sicrhau i ddynion gysuron tymhorol. Ac wedi iddo gymeryd y pethau hyny ymaith, nid oedd yn werth dim ond i'w felldithio. Yr oedd ei henaid yn gwbl ddieithr i bob syniad ysprydol am y Brenhin Mawr. Yn chwanegol at hyn, yr oedd (2) *Yn amddifad o serch pur at Job yn bersonol*, ar wahân i'w amgylchiadau a'i iechyd. Mae yn gorchymyn iddo farw. "Melldithia Dduw, a bydd farw." Dichon y gellid dyfalu y gallai ddymuno iddo farw yn hytrach nag edrych arno yn hwy yn y fath boenau. Eithr mae atebiad Job, yn nghyda holl dôn ei hymadroddion, yn cau allan y cyfryw syniad ffafriol amdani. Ac mae y ffaith iddi gael ei harbed gan Satan yn profi ei bod yn wasanaethgar iddo ef i wneud dinystr ar Job. Na, nid oedd ei serch at Job yn cymeryd ei *enaid ardderchog* ef i'r cwestiwn o gwbl. Amser yn ol y mae milwr ieuanc a merch ieuanc uwchraddol yn cytuno i ymuno mewn glân briodas ar adeg arbenig. Eithr yn yr argyfwng y mae ef yn cael ei orchymyn yn sydyn i faes y gwaed; ac yn un o'r brwydrau, mae'n cael ei anafu yn arswydus—y fath fel y bu raid tori ymaith ei ddau

droed. Ac at yr oll, anffurfiwyd ei gorff nes bod bron yn anadnabyddedig hyd nod i'w gyfeillion anwylaf. Wrth edrych arno ei hun yn y drych, ar ol gwella, teimlai ei fod mor hagr nes credu nad oedd obaith iddo barhau yn serch y ferch ieuanc hono a'i gwneud yn briod iddo. Ac mae'n gofyn i gyfaill iddo fyned ati drosto i hyspysu y foneddiges o'r ffaith, ac i roddi desgrifiad cywir ohono fel yr oedd ar y pryd, a dywedyd ei fod yn boddloni ei rhyddhau o'r ymrwymiad, os dymunai. Ond yr atebiad ardderchog o urddasol a gafwyd ganddi yn ebrwydd ydoedd, "Os oes digon ohono yn aros i *gynwys ei enaid, mi a'i cymeraf ef.*" Ei *enaid* ef oedd gwir wrthddrych ei serch. Ond mae'n anmhosibl credu fod gwraig Job yn caru ei enaid ef, fel ag i ddymuno ei gadw yn fyw yn nghanol ei dlodi a'i gornwydydd, a gweini yn serchog a thyner arno yn ei ddioddefiadau. Profedigaeth ofnadwy i Job oedd hon, pan yn dod fel hyn yn ddilynol i'r disgyniadau aruthrol ereill. Eithr yr oedd Job yn ddigon ysprydol ei feddwl, ac yn ddigon cryf ei ffydd, i ymgynal dan y ddyrnod ofnadwy hon. Ceidw ewyllys Duw yn glir gerbron ei feddwl fel safon barn, bywyd, ac ymddygiad mewn pob math o amgylchiadau. Mae yn gallu edrych ar bawb a feiddient feirniadu Duw fel ynfydion. A phan ymunodd ei wraig ef ei hun â'r giwaid hyny, rhoddodd iddi ei henw ei hun. "Llefaraist," meddai, "fel y llefarai un o'r ynfydion," &c. "Yn hyn i gyd ni phechodd Job *â'i wefusau.*" Ac yr oedd efe mor bur ei galon, fel ag yr oedd ei wefusau yn cynrychioli ei galon.

Yn ddilynol i'w wraig, mae *ymosodiadau deifiol* yn

cael eu gwneud arno gan ei dri chyfaill gynt, Eliphas y Temaniad, Bildad y Suhiad, a Sophar y Naamathiad.

Ymddengys iddynt gytuno ar y cyntaf i ddod ato i'w gysuro yn ei drallod, eithr datblygodd yr oll yn ymosodiadau annioddefol hollol i gig a gwaed. "Canys hwy a gytunasent i ddyfod i gyd-ofidio âg ef, ac i'w gysuro. A phan ddyrchafasant eu llygaid o bell, ac heb ei adnabod ef, hwy a ddyrchafasant eu llef, ac a wylasant; rhwygasant hefyd bob un ei fantell, a thaenasant lwch ar eu penau tua'r nefoedd. Felly hwy a eisteddasant gydag ef ar y ddaear saith niwrnod a saith noswaith, ac nid oedd a ddywedai air wrtho ef: canys gwelent fyned ei ddolur yn fawr iawn."

Mae'n amlwg fod yna rhyw ogoniant yn nghymeriad Job oedd yn ei gymeryd i fyny tuhwnt canfyddiad ysprydol y cyfeillion hyn. Nid oes dim amlycach na'u bod yn ddynion o athrylith a thalent aruchel, ac yn meddu syniadau uniawngred ar rai o gwestiynau mwyaf bywyd moesol a chrefyddol. Eithr nid oeddent yn deall Job yn ei berthynas â Duw, nac yn deall Duw yn ei berthynas uchaf â dyn. Yr oeddent yn mesur ac yn barnu yr ysprydol trwy y tymhorol. Yn hyn, er yn ddynion o yspryd hollol wrthgyferbyniol i Satan, yr oeddent yr *un farn âg ef*. Byddaf yn ofni fod rhai o bobl Dduw eto yr un farn â Satan mewn rhai pethau. Pe buasai gan Satan bleidlais mewn etholiad, cawsai fod llawer o bobl Dduw yn pleidleisio yr un ffordd âg ef. Mae miloedd o bobl Dduw yn rhoddi eu pleidlais i ymgeiswyr seneddol na ellir disgwyl ganddynt byth fesurau o blaid rhinwedd a sobrwydd cymdeithasol.

Yr oedd cyfeillion Job yn ddynion o egwyddor bur, ond yn coleddu syniadau oeddent yn dwyn cynyrch cyffelyb i egwyddorion drwg yn eu perthynas â Job. Gwnaethant gam mawr â Job, nid yn gymaint o egwyddor, eithr yn hytrach o gyfeiliornad. Maent yn ymresymu yn gyffelyb i fel y gwnaethai Satan ei hun, trwy geisio olrhain helbulon y Patriarch i rhyw anaf ar ei gymeriad crefyddol. "Cofia, atolwg," meddai Eliphas, "pwy, ac efe yn ddiniwed, a gollwyd? a pha le y torwyd y rhai uniawn ymaith?" A diau y gallasai seilio y cyfryw syniad ar lawer o weinyddiadau Duw yn ei ragluniaeth tuag at y genedl yn y gorphenol. Ffordd gyffredin Duw o ddangos ei anghymeradwyaeth i gyflawniadau pechadurus y bobl trwy yr oesau ydoedd, cyffwrdd â'u hamgylchiadau tymhorol, a'u cystuddio. Felly yr oedd datganiad Eliphas, mewn rhyw ystyr, yn gyson â hanes y gweinyddiadau dwyfol tuag at blant Israel. Ac wrth edrych ar y mater oddiar yr un safle, yr oedd Job ei hun bron a dod i'r un casgliad. "Myfi a bechais," meddai, "beth a wnaf i ti, O Geidwad dyn?" Eithr mae y dirwasgiad hwn oddiallan, yn peri iddo ar unwaith syrthio ar ei ymwybyddiaeth ei hun. Wrth ymresymu oddiwrth ei ddioddefiadau at ei fywyd, mae'n dod o hyd i bechadur, eithr wrth ddisgyn i'w ymwybyddiaeth a'i brofiad, gan ei ddal yn mhresenoldeb yr hawliau dwyfol, mae'n dod o hyd i *uniondeb* a *phurdeb amcanion*. Pan ddywedodd Eliphas wrtho, "yn ddiau ti a doraist ofn; yr ydwyt yn atal gweddi gerbron Duw," mae Job yn tynu allan yr atebiad iddo o ddyfnderoedd ei brofiad ysprydol. "Er nad oes gamwedd

yn fy nwylaw, a bod fy *ngweddi yn bur.*" Mi a wn na chyflawnais bechod yn erbyn Duw â'm dwylaw, ac mi a wn fod fy ngweddi yn ymddyrchafu o galon deimladwy o'i hangen, ac awyddus am gyflenwad. "Wele hefyd fy nhyst yn y nefoedd; a'm tystiolaeth yn yr uchelder." Yr oedd Job yn dal ei brofiad yn y presenoldeb dwyfol, gan apelio at ei wybodaeth anfeidrol.

Ond yma, mae Sophar yn dod allan yn ei erbyn gyda beiddgarwch creulon—pob olion o'r hen gyfeillgarwch fel pe wedi ei ddileu o'i galon. "O, na lefarai Duw," meddai, "ac nad agorai ei wefusau yn dy erbyn." Mae dy ddatganiad o'th ddiniweidrwydd yn gabledd, ac mae'n rhyfedd ei fod yn dy oddef. Eithr yn hytrach nag arddangos unrhyw chwerwder yspryd dan y ddyrnod hon, efe a ddywed, "Pe lladdai Efe fi, mi a obeithiaf ynddo; er hyny, fy ffyrdd a *ddiffynaf* ger ei fron Ef." Yr oeddyt yn siarad am i Dduw lefaru wrthyf, Sophar. "Yn wir, mi a lefaraf wrth yr Hollalluog, ac yr ydwyf yn chwenychu ymresymu â Duw."

Mae y cyfeillion hyn yn eu dadl yn erbyn Job yn datgan rhai o'r gwirioneddau pwysicaf, a hyny yn yr iaith gryfaf yn bosibl. Yn pennod xx. 5—17, mae Sophar yn rhoddi un o'r desgrifiadau mwyaf byw a chywir o gyflwr a thynged yr annuwiol a'r rhagrithiwr. Eithr y colyn marwol, a'r sarhâd annheilwng ddatguddir yn yr oll ydyw, ei fod, yn ol syniad Sophar, yn ddesgrifiad cywir o Job. Desgrifiad cywir ac arddunol iawn o lawer o blant dynion, eithr desgrifiad cwbl annheg o Job, anwylyd Jehofa. Profedigaeth galed i ddyn gonest, diniwaid a phur, oedd cael ei alw yn ragrithiwr gan

gyfaill, ac un mae'n debyg dderbyniodd lawer o fanteision mewn bywyd trwy ei gyfathrach â Job. Eithr ni ddangosa Job unrhyw arwydd o wendid ac ymroad, eithr enilla nerth adnewyddol i ymresymu yn erbyn dynion, ac i ymddiried yn Nuw. Dadleua nad yw amgylchiadau, wedi'r cwbl, yn profi dim parthed *natur cymeriad* personol. "Paham," meddai, "y mae yr annuwiolion yn byw, yn heneiddio, ac yn cryfhau mewn cyfoeth?" Gwelir ar unwaith nerth ei ymresymiad. Os oedd pobl gyfoethog ac iachus yn byw yn annuwiol, ac yntau, tra yn ymwybodol o burdeb calon, yn aros mewn mawr dlodi a dwfn gystudd, yna nid oedd amgylchiadau yn rhoddi goleuni cyflawn ar gymeriad personol.

Geiriau llawn o gysur i blant Duw ydynt y rhai acw o eiddo Elihu. "Yr hwn sydd yn rhoddi achosion i ganu y nos." Eithr ei amcan wrth eu llefaru oedd trywanu calon dyner Job. Nid yw y geiriau cyfoethog hyn ond dernyn o *irony*. Mae cysylltiadau y geiriau yn gyfryw ag sydd yn eu cau allan o fod yn destyn pregeth, ond yn anfynych iawn.

Drachefn, gwirionedd oll-bwysig i bechaduriaid ydyw, "oherwydd bod digofaint, gochel, rhag iddo dy gymeryd ymaith â'i ddyrnod, yna ni'th wared iawn mawr." Eithr y fath dywyllwch neu greulonedd barodd i Elihu gyfeirio y ddyrnod at Job.

Eithr yn chwanegol at yr holl helbulon hyn, mae y Duw mawr ei Hun, fel pe yn dod allan yn erbyn Job, ac fel bardd ac areithydd anfeidrol, yn gosod gwirioneddau ofnadwy ger ei fron, mewn cwestiynau na allai neb eu

meddwl byth ond Duw. Yn y cwestiynau hyn, mae'r Arglwydd yn gadael i'w ogoniant fel Creawdwr a Chynaliwr fyned heibio fel math o *banorama* ofnadwy. "Pa le," meddai, "yr oeddyt *ti* pan sylfaenais *I* y ddaear? Mynega, os medri ddeall." "A phwy a gauodd y môr â dorau?" "A ddaethost ti i eigion y môr? Ac a rodiaist ti yn nghilfachau y dyfnder?" Y fath bwysau o ogoniant a mawredd, a hwnw mewn cwestiynau herfeiddiol a chyffrous, sydd yn cael eu dwyn i wasgu yn ddirlethol ar yspryd un sydd eisoes yn nyfnderoedd tlodi, cystudd, ac ymosodiadau ei gyfeillion penaf. Ond yn hytrach na chynyrchu unrhyw chwerwder yn enaid Job, mae'n cynyddu ei ostyngeiddrwydd. "Wele," meddai, "gwael ydwyf. Pa beth a atebaf i Ti? Mi a osodaf fy llaw ar fy ngenau." Ond, meddai'r Arglwydd, nid wyf wedi gorphen â thi eto. "Gwregysa yn awr dy lwynau fel gwr. A oes i ti fraich fel Duw? A wnei di daranau â'th lais fel yntau?" Yna, mae yn myned i ddarlunio ei allu mawr yn y lefiathan, fel pe buasai yn awyddus i ddychryn Job i farwolaeth. "A dyni di y lefiathan allan â bâch? neu a rwymi di ei dafod ef â rhaff? A chwareui di âg ef fel âg aderyn?" Ac yma, mae desgrifiad mwyaf mawreddog o'r creadur afresymol mwyaf hwn, yn cael ei fwrw ar Job gyda hyawdledd deifiol Creawdwr yr areithwyr oll. "Wrth ei disian ef y tywyna goleuni, a'i lygaid ef sydd fel amrantau y boreu. Ffaglau a ânt allan, a gwreichion tanllyd a neidiant o'i enau ef. Ei anadl a wna i'r glo losgi, a fflam a ddaw allan o'i enau. Yn ei wddf y trig cryfder, a thristwch a drŷ yn llawenydd o'i flaen ef."

Eithr cyn i'r arawd ddwyfol hon derfynu, yr oedd Job ar lawr o ran ei yspryd, fel ei amgylchiadau. Yn ei olwg ei hun, yr oedd ef ar lawr yn y dyfnderoedd, a Duw i fyny yn y goruchelderau. Ac o waelod y dyffryn hwn, mae yn llefain, nes rhoddi boddlonrwydd annesgrifiol i'r galon ddwyfol. "Mi a glywais â'm clustiau sôn am danat, ond yn awr fy llygad a'th welodd. Am hyny, y mae yn ffiaidd genyf fi fy hun, ac yr ydwyf yn edifarhau mewn llwch a lludw."

Os oedd Job wedi arddangos graddau o ddiffyg llwyr ymostyngiad i'r drefn ddwyfol ar ol y ddyrnod gyntaf, ag oedd yn galw am i'r Arglwydd amlygu ei ogoniant a'i awdurdod iddo, mae yn sicr mai ei brif amcan ydoedd dangos i Satan a phlant dynion, fod gan Job gymeriad digon cryf i ddal mwy o bwysau na'r oll roddwyd arno gan Satan ei hun, a phawb oedd yn cydweithio âg ef. Mae yr Arglwydd fel pe yn galw y cyfeillion hyn, a'r diafol hefyd o bosibl, gan ddywedyd—"Y mae Job yn ddigon cryf i ddioddef pwysau mwy o lawer nag ydych chwi oll wedi allu roddi arno. Gwrandewch arnaf fi yn ei holi." Eithr dan ddylanwad y fath gwestiynau, mae Job yn ymostwng yn îs, îs, gerbron Duw, a Duw yn myned yn uwch, uwch, yn ei feddwl. Dan ddylanwad y fath yspryd ardderchog a ddangosai Job, mae'r Arglwydd fel pe yn methu aros yn hwy yn y corwynt a'r tywyllwch ; ac mae'n dod allan i ganol goleuni a thawelwch mawreddog, gan ofyn i'r Patriarch—"Job, edrych arnaf fi," ac mae y sant yn gwneuthur hyny am y tro cyntaf er's amser bellach. Ac wedi iddo edrych, "Yr Arglwydd a dderbyniodd ei wyneb ef." Cydnabydda yr Arglwydd

yn hyn oll fod Job yn ei holl ddioddefiadau a'i brofedigaethau wedi bod yn ffyddlon i'w gydwybod, ac i'w Arglwydd. Ac mae'n gofalu gwneud yn glir fod cyfeillion Job wedi enyn ei lid. Mae'n datgan wrth Eliphas fod ei ddigofaint wedi enyn yn ei erbyn ef a'i gyfeillion, oherwydd eu camddarluniadau o Job. Ac yn awr, meddai'r Arglwydd, rhaid i chwi aberthu dros eich pechodau, er symud ymaith fy llid oddiwrthych. Ac yn chwanegol at hyny, rhaid i chwi lwyddo i berswadio Job i *weddïo* drosoch. Ah ! tybed y gwna Job weddïo ar yr Arglwydd ar ran y rhai fuont y naill ar ol y llall yn gosod eu cyflegrau cryfaf i luchio tân-belenau ato pan ar lawr ? A oes yn ei yspryd ddigon o *nobility* a maddeugarwch i hyn? Oes y mae. Wedi'r holl ymosodiadau arno—o uffern, y ddaear, a'r nefoedd ei hun, dyma'r cymeriad pur sydd yn aros. Pan ofynasant, Job a wnei di weddïo drosom ? daeth yr atebiad yn ol yn ddiymdroi. O, gwnaf, cyd-weddïwn, ac mae'n dyrchafu ei lef at ei Arglwydd, gan daenu eu pechodau oll ger ei fron, ond ar yr un pryd erfyn maddeuant llwyr a llawn iddynt o'u holl anwireddau. Y fath gymeriad euraidd—"wedi ei buro, yn dyfod allan fel aur." Eithr nid yw hyn yn derfyn hollol ar y prawf o werth a gogoniant cymeriad Job. Mae yma un olwg arall ar ogoniant cymeriad crefyddol mawr.

### V.—Fod gwir grefydd yn allu digonol i ddal dyrchafiad cyflym.

Derbyniodd Job ddyrchafiad mawr. Cafodd gymaint o deulu, a chymaint arall o gyfoeth ag o'r blaen. Yr

oedd ei ddyrchafiad yn fwy na'i ddarostyngiad. Codwyd ef i bwynt llawer uwch na'r un y disgynodd ohono. Ychydig o'i hanes a geir ar ol ei ddyrchafiad, heblaw ei fod wedi byw mewn agosrwydd mawr at ei Arglwydd am saith ugain mlynedd, ac yna ei gymeryd ato i ogoniant. Dichon y meddylia rhai mai hawdd iawn bellach oedd iddo fyw yn ffyddlawn, wedi derbyn y fath ddyrchafiad. Nid yw hyn yn canlyn o gwbl, oblegid y mae dyrchafiad yn cynwys temtasiwn gryfach i anghofio Duw i filoedd, na darostyngiad. Mae llawer mwy yn cael eu swyno oddiwrth Dduw gan lwyddiant a ffawd fydol, nag sydd yn cael eu dirlethu oddiwrtho gan anffodion bywyd. A dyma, o bosibl, paham mai ychydig o rai cyfoethogion a rhai doethion sydd yn gadwedig. Mae y naill yn cael eu hudo oddiwrth Dduw gan ymddiriedaeth yn eu "meddiannau lawer," a'r lleill gan ymddiriedaeth "yn eu deall eu hunain."

Mae angen gras mawr, a ffydd yn perchenogi llygaid gloew, byw, a chraff, i gadw y byd gweledig rhag ein rhwystro i weled yr anweledig. Ac mae'r ychydig sydd yn gallu ymgodi i'r safle ysprydol hon, y cymeriadau ardderchocaf yn hanes y byd. Mor ddefnyddiol i gymdeithas ac i'r eglwys ydyw pobl gyfoethog dduwiol; a mwy defnyddiol fyth ydyw ysgoleigion duwiol. Perygl mawr ein hoes ni ydyw swynion cyfoeth ac addysg. Mae gosod y cyfryw ar allor Duw yn un o anhawsderau penaf natur hunanol a balch dyn syrthiedig. Ymadroddion gogoneddus ydyw "cyfoeth cysegredig," a "diwylliant cysegredig." Flynyddau lawer yn ol, daeth glöwr tlawd i gyfoeth mawr yn sydyn, trwy ewyllys

perthynas iddo a drigai yn California. Yr oedd yr hen frawd hwn yn aelod ffyddlon a selog iawn o eglwys ymneillduol yn Sir Forganwg. Arferai yn fynych adrodd profiad byw a bendithiol iawn yn y gyfeillach eglwysig. Eithr wedi derbyn yr arian mawr hyny, mae'n troi i fod yn dra distaw yn y cyfeillachau, er yn ffyddlon o hyd yn y cyfarfodydd. Oherwydd hyn, mae amrai o'r swyddogion, a'r aelodau ffyddlonaf, yn dechreu ofni ei fod yn myned yn ysprydol dlotach wrth fyned yn dymhorol gyfoethocach. Yr oedd hyny yn achos pryder a thrallod nid bychan iddynt. Gwyddent y buasai'r cyfryw gyfnewidiad yn sarhâd mawr ar ras dihyspydd Iesu Grist. Eithr ryw noson, dacw fe ar ei draed, yn welw a chrynedig, ac eto hyderus yr olwg. "Frodyr a chwiorydd," meddai, "mae'n debyg fod llawer ohonoch yn meddwl y buasai y cyfoeth mawr ddaeth i'm rhan i mor sydyn yn fy mhen-syfrdanu ac fy yspeilio o'r profiad ysprydol ddywedais lawer gwaith oedd yn fy meddiant. Na phryderwch, mae'n dda genyf allu dyweyd fod *California dan fy nhraed i*, a Christ yn fy nghalon." Dyma un a digon o ras ynddo i ddal ei godi heb unrhyw niwaid. Ond cymaint o bobl wrth *gael* yn dymhorol sydd yn *colli* yn ysprydol. Cymaint mae y ffair, y farchnad, a'r *exchange* yn ei lyncu o gyfeillachau crefyddol a chyfarfodydd gweddïau. O na ellid perswadio crefyddwyr yr oes hon, i efrydu yn dduwiolfrydig fywyd a chymeriad Job, gwas Duw. Mae'n llawn o wersi ysprydol parthed bywyd sanctaidd yn mhob math o amgylchiadau bywyd—cyfoeth, iechyd, anrhydedd, a thlodi, afiechyd, ymddifadrwydd yn ei deulu a'i gyfeill-

ion—sydynrwydd symudiadau, taro ar lawr gan y rhai y disgwylid mwyaf o gysur a diddanwch oddiwrthynt. Mae y Duw a gyflawnodd raid Job yn aros i gyflawni ein holl raid ninau â'r goludoedd o ras, nerth, gwroldeb, a chysur yn holl amgylchiadau gwrthdarawol bywyd. Y fath baradwys gymdeithasol fuasai yr eglwys pe bai pob aelod yn mwynhau yr un berthynas â Duw ag a fwynhai y patriarch Job.



# DUW YN FFYNONELL AC AMGYLCHEDD BYWYD DYN.

"*Oblegid ynddo Ef yr ydym ni yn byw, yn symud, ac yn bod; megis y dywedodd rhai o'ch poëtau chwi eich hunain. Canys ei hiliogaeth Ef hefyd ydym ni.*"—

ACTAU xvii. 28.

SYLWEDD a chnewyllyn araeth fawr yr apostol Paul yn Areopagus, prif lŷs Athen, ydyw y testyn. Mae presenoldeb yr apostol yn Athen yn ystod ei ail daith genadol yn ymddangos fel ymweliad damweiniol, ac nid rhag-gynllunedig. Yn cael ei ymlid o Berea, gan Iuddewon gwallgof Thesalonica, mae'n gweled yn ddoeth ddianc i Athen, gan adael Silas a Timotheus ar ei ol yn Berea. A thra yno yn disgwyl am danynt, mae'n cymeryd cyfleustra i edrych i mewn i fywyd crefyddol a moesol y ddinas. Cynhyrfwyd ei ddigofaint sanctaidd wrth weled y ddinas yn "llawn o eilunod." Yr oedd yr eilunod yn amlach na dynion yn Athen yn y cyfnod hwn, er yr ymddengys nad oedd mwy nag un o bob deg o'r trigolion yn eu parchu a'u haddoli. Os na chaiff dyn afael ar y gwir Dduw, ac ar y ffordd iawn ato, mae ei addoliad yn sicr o droi yn ffug ac yn broffes disylwedd mewn amser. Dyma'r paham y mae cymaint o'r ffugiol yn addoliad y paganiaid a'r pabyddion. Mae'r blaenaf heb y gwir Dduw, a'r olaf heb y ffordd iawn ato.

Pa fodd bynag, yr oedd llawer o fawrion Athen yn aiddgar dros grefydd ac athroniaeth y ddinas. Fel un yn sylweddoli amcan uchaf bywyd, mae'r apostol yn methu dioddef yr olygfa heb siarad, ac oherwydd hyny, mae'n myned i'r synagogau i ddadleu â'r Iuddewon, ac i betrual (*square*) y ddinas i ddadleu â'r Epicuriaid a'r Stoiciaid. Parodd cryn gynwrf yn mysg y bobl. Meddyliai rhai nad oedd ond baldorddwr neu "hauwr geiriau," a thybiai ereill mai pregethwr rhyw dduwiau dieithr ydoedd, a hyny, "am ei fod yn pregethu yr Iesu a'r adgyfodiad iddynt." Mae'n ymddangos mai newydd-deb ei ddysgeidiaeth yn y ddinas a sicrhaodd iddo gyfleustra i chwanegu ei ddysgeidiaeth iddynt ; oblegid, "nid oedd yr holl Atheniaid, a'r dieithriaid, y rhai oedd yn ymdeithio yno, yn cymeryd hamdden i ddim arall ond i ddywedyd ac i glywed ryw newydd," neu yn fwy cywir, "y newydd *diweddaraf*." Mae'r oes hon yn prysur ymlithro i'r cyflwr meddwl cyffröus a pheryglus yna. Dyger rhywbeth newydd, gwael neu wych, drwg neu dda o hyd, ac mae'r wlad yn rhuthro yn wallgof ar ei ol. Yn ngrym y chwilfrydedd hwn, pa fodd bynag, maent yn cymeryd gafael yn Paul, gan ei gymeryd i uchelder Areopagus, neu Fryn Mawrth. Barna rhai ysgoleigion Beiblaidd fod arno angen cymorth i ddringo i gopa y bryn—y gallai fod y "swmbwl yn y cnawd," beth bynag ydoedd, yn cael ei nodweddu gan wendid corfforol ; nad oedd eto wedi ymiachau ar ol y fflangellu a'r carcharau yn Philippi ; ac at yr oll, fod rhanau uchaf y bryn, am tua chant o latheni, yn hynod o serth, ac felly yn anmhosibl bron i ddyn egwan ei iechyd i'w

ddringo. Trwy y cymorth cynhyrfus hwn, pa fodd bynag, mae'r apostol yn cael cyfleustra i draddodi yr araeth odidog y mae y testyn yn ffurfio ei sylwedd.

Un o'r pethau mwyaf tarawiadol yn yr araeth hon ydyw y ddoethineb a'r dysbwylliant gyda pha un y mae yr apostol yn gwasgu gwirioneddau mawrion cristionogaeth at feddyliau yr Atheniaid. Yn lle ceisio bwrw syniadau y bobl dros y bwrdd, fel yspwriel disylwedd, ac felly enyn eu digofaint, mae yn yr oll o'i ymwneud â hwy yn y ddinas yn ymdrechu cydio y cyfryw wirioneddau wrth bob *syniad a dyhead cywir* a amlygir yn ymarferion crefyddol y bobl hyn. Dyma sydd amlwg yn yr ymadrodd, "mi a'ch gwelaf chwi yn mhob peth yn dra *choel-grefyddol*." Yn ol y cyfieithiad hwn, ymddengys megis edliwiad gwawdlyd, eithr y cyfieithiad cywir ydyw, "yn dra *chrefyddol*"—yn hynod selog ac ymgyflwynol i'ch defosiynau crefyddol. A'i fwriad ydoedd defnyddio eu dyhead a'u brwdfrydedd crefyddol er hyrwyddo eu ffordd at y gwir Dduw a'r wir grefydd. Yr un amcan doeth a amlygir yn ei gyfeiriad at yr allor "yn yr hon yr ysgrifenasid, I'R DUW NID ADWAENIR." Mae ynoch syniad am rywun mwy na'r milfil mân dduwiau sydd ar y ffordd yn heolydd a phetrualau y ddinas hon, ac yr ydych yn ceisio ei addoli oreu y gellwch addoli un nad adwaenir genych yn llawn. Yr ydych yn ymbalfalu neu yn teimlo amdano yn nghanol y tywyllwch, eithr yn methu dod o hyd iddo. Yr wyf finau wedi dod atoch gyda goleuni i'w ddangos yn llawn i chwi yn ei wybodaeth, ei allu, ei ddaioni, a'i agosrwydd atoch. "Yr hwn, gan hyny, yr ydych chwi heb ei

adnabod yn ei addoli; hwnw yr wyf fi yn ei fynegi i chwi." Cynwysa y testyn ddatganiad cyffelyb, a gwneir ef yn ddiau gyda'r un pwrpas doeth. "Megis y dywedodd rhai o'ch poëtau (neu eich beirdd) chwi eich hunain. *Canys ei hiliogaeth ef hefyd ydym ni.*" Mae y bardd Groegaidd Aratus yn gwneud y datganiad hwn yn ei *Phenomena.* Ac yr oedd ef yn enedigol o Cilicia, ac o bosibl, felly, yn adnabyddus o ran ei weithiau barddonol i'r Apostol. Gan fod y syniad hwn, gan belled ag yr oedd yn myned, yn cynwys gwirionedd tra phwysig, mae'r Apostol yn manteisio arno i roddi i'r bobl addysg bellach a pherffeithiach am y Duw byw.

Cynwys mawr dysgeidiaeth yr araeth ogoneddus hon ydyw, *perthynas Duw â'r greadigaeth yn gyffredinol, a'i berthynas arbenig â dyn.* Darlunir Ef fel yr Hwn a wnaeth y byd a phob peth sydd ynddo, ac felly y mae yn annibynol ar y byd. Nid yw mewn angen am demlau dynion i drigo ynddynt, ac nid yw mewn angen gwasanaeth dynion fel un mewn eisieu cymorth oddiallan. Eithr yn yr adnodau sydd yn blaenori ac yn dilyn y testyn desgrifir ei berthynas â dyn: "Efe a wnaeth o un gwaed (neu un *cyff)* bob cenedl o ddynion, i breswylio ar holl wyneb y ddaear, ac a bennododd eu hamseroedd (neu barhad eu dydd) a therfynau eu preswylfod hwynt." "Oblegid ynddo ef yr ydym yn byw, yn symud, ac yn bod," &c. Dyma berthynas Duw â dyn fel creadur. Eithr yn adn. 30, 31, dengys yr Apostol Ei berthynas â *dyn fel pechadur.* "A Duw, wedi esgeuluso (neu edrych yn oddefgar) ar amseroedd yr anwybodaeth hon, sydd yn gorchymyn, neu yn cyhoeddi

angen pob dyn yn mhob man, am edifeirwch. Oherwydd iddo osod diwrnod, yn yr hwn y barna Efe y byd mewn cyfiawnder, trwy y gŵr a ordeiniodd Efe ; gan roddi ffydd (neu *pledge)* oherwydd ddarfod iddo ei gyfodi Ef oddiwrth y meirw.

Gwelir bellach fod geiriau y testyn yn gosod gerbron sylwedd a chnewyllyn perthynas Duw â dyn. Ceir y cyfryw yma mewn dau agwedd.

I.—Duw fel ffynonell fawr bywyd dyn.

"Megis y dywedodd rhai o'ch poëtau chwi. Canys ei hiliogaeth Ef hefyd ydym ni."

Nid oes dim wedi ei brofi eto gan wyddoniaeth ddiweddar, ag sydd yn cau Duw allan o berthynas â dyn fel ffynonell ei fodaeth a'i fywyd. Mae y toriadau *(breaks)*, a addefir gan y gwyddonwyr galluocaf, yn gadael lle i Dduw yn ei berthynas â dyn, yn gystal a'r greadigaeth fawr. Mae toriadau rhwng y greadigaeth ddifywyd a'r greadigaeth lysieuol, rhwng y bywyd llysieuol a'r anifeilaidd, a rhwng yr anifeilaidd a'r bywyd meddyliol, nas gellir eu hesponio yn awr, heb gydnabod dealltwriaeth ag sydd uwchlaw dirnadaeth dyn. Mae pob ymdrech i gau allan yr angenrheidrwydd o berthynas ddwyfol â'r greadigaeth a dyn wedi methu hyd yn hyn. A golygu y bydd i wyddoniaeth alw am ail-esponio pennodau cyntaf llyfr Genesis, mae'n myned yn llai tebyg o hyd y gellir gwneud i ffordd âg ystyr ddyfnaf adnod gyntaf y llyfr hwnw, "Yn y dechreuad y *creodd Duw*."

Nodwedd arbenig perthynas Duw â dyn, yn ol y testyn, ydyw *Tadolaeth.* "Canys ei hiliogaeth Ef

ydym ni." Mae Tadolaeth Duw yn cael ei ddysgu yn glir a diameuol yn yr Ysgrythyrau. Gelwir Ef yn "Dad y gwlaw;" ac onid oes *stamp* Tad tyner ar gawod adfywiol o wlaw?

Gelwir Ef hefyd yn "*Dad yr yspiydoedd.*" Ac mae'n debyg nad oes gwirionedd mwy llawn o ddirgelwch na pherthynas dadol Duw âg ysprydoedd dynion. Mae ymdrech y meddwl i ddirnad perthynas Duw â'r ysprydoedd sydd yn preswylio mewn cnawd, yn ei arwain i anhawsderau mawrion. Coleddir dau syniad gan gristionogion ar y mater hwn, sef y syniad o *greadigaeth uniongyrchol* yr yspryd gan Dduw, mewn modd tuhwnt i'n hamgyffrediad ni; a'r syniad *trosglwyddiadol*, hyny yw, fod Duw yn rhoddi bodolaeth i'r unigolyn, yn yspryd yn gystal a chorff, trwy offerynoliaeth rhieni. Ymddengys mai yr olaf sydd yn rhoddi y cyfrif mwyaf boddhaol o ffeithiau bywyd dynolryw. Dyma y tebycaf o roddi cyfrif am y tebygolrwydd sydd yn meddyliau a thymerau plant, yn gystal a'r eiddo eu hymddangosiad i'w rhieni. Dyma, hefyd, sydd yn cyfrif am y duedd gyffredinol at bechod, sydd yn nodweddu plant dynion yn mhob cenedlaeth, "Mewn anwiredd y'm lluniwyd, ac mewn pechod y beichiogodd fy mam arnaf." "Y mae anwiredd yn rhwym yn ngalon plentyn," &c. Eithr wedi pob ymdrech i ddeall y mater hwn, rhaid ei adael yn mysg y "dirgeledigaethau ag ydynt yn eiddo yr Arglwydd."

Mewn ystyr uwch eto, mae Duw yn *Dad cymeriad da dynion.* Mewn ystyr bwysig y mae pob creadur moesol yn awdwr ei gymeriad ei hun; eithr mewn ystyr arall,

llawn mor bwysig, mae daioni ysprydol pob creadur moesol yn tarddu o'i berthynas â Duw, Tad y goleuni, o'r hwn y deillia pob rhodd ddaionus, a phob rhodd berffaith. Crewyd dyn ar y cyntaf ar ddelw uchaf Duw—mewn gwybodaeth, cyfiawnder, a gwir sancteidd-rwydd. Daeth dylanwad cymeriad Duw i'w natur newydd-greuedig, er cymorth a symbyliad i ymddat-blygiad personol mewn sancteiddrwydd. Dyma'r elfen yn y Dadolaeth a'r Fabolaeth a gollwyd trwy bechod yn y dechreuad; a dyma'r elfen sydd yn cael ei hadferu trwy yr adenedigaeth.

Ond tra yr oedd y Dadolaeth, yn yr ystyr uchaf hon, wedi colli, yr oedd y dadolaeth gyffredinol i ysprydoedd dynion yn aros. Ac yn ngrym y Dadolaeth hon y parha-odd dyddordeb Duw mewn dyn yn ddiffuant, pan y mae yn "farw mewn camweddau a phechodau." Yn yr ystyr yma yr oedd yn Dad y Mab Afradlon pan oedd ar ei ymdaith yn y wlad bell; ac oddiyma ý tarddodd y croesaw a gafodd pan y dychwelodd gartref. Yn nerth y Dadolaeth hon y *rhoddodd* Duw ei Fab yn Iawn dros bechodau dynion. Gwir nas gellir meddwl am dad perffaith a gogoneddus, heb ei fod hefyd yn frenin a llywodraethwr ar ei deulu, ac yn meddu ei hawliau oddi-wrth bob un, a phawb yn eu cydberthynas âg ef. Nid yw y tad sydd heb ddeddf yn ei deulu yn deilwng o'r enw. Mae yn Nuw frenin yn y tad, yn meddu ei hawliau oddiar ddynion; ac nis gall Efe ganiatau i'r tad ym-ddwyn at ddynion ond yn y brenin. Ac wrth i ni olrhain cyfiawnder pur y brenin i'w ddyfnderoedd, ac yna olrhain trugaredd y tad i'w ddyfnderoedd, ni a gawn fod

y ddau yn dod yn un yn mherffeithrwydd cymeriad daionus Duw. Nid yw cyfiawnder a thrugaredd perffaith ond agweddau cymeriad ysprydol perffaith. Nis gall y sawl sydd yn ddiffygiol mewn cyfiawnder lai na bod yn ddiffygiol mewn trugaredd; ac mae y perffaith drugarog yn berffaith gyfiawn. Mae tad perffaith, gan hyny, yn frenin perffaith, a'r brenin perffaith yn dad perffaith. Y cymeriad sydd buraf ei hawliau, gan hyny, sydd lwyraf ei hunan-aberthiad. Yn Nuw yn unig y ceir y nodwedd ddeublyg hon mewn perffeithrwydd llawn. Ynddo Ef mae y Brenin-dad yn hawlio oddiar ddynion, a'r Tad-frenin yn rhoddi yr hawl dros ddynion. Gwelir felly mai Tadolaeth gyffredinol Duw ydyw ffynonell yr Iawn mawr dros ddynion.

Nid yw perthynas brenin daearol â'i ddeiliaid yn bortread cyflawn o lawer o berthynas Duw â dynion. Y portread agosaf i gywir ydyw perthynas brenin â'i blant ei hun. Mae Edward VII. yn dad a brenin i'w blant. Os ydyw yn frenin gwir uniawn, ni wna esgeuluso gwasgu ei hawliau ar ei blant fel ar ereill, ac os ydyw yn dad perffaith fe wna yr hyn fydd eisieu i gynorthwyo ei blant i ddod i fyny â'r gofynion, os ydynt analluog i wneuthur hyny eu hunain. Dyma berthynas Duw â dynion pechadurus. Fel Brenin-dad y mae ei hawliau yn dod ar ddynion fel troseddwyr o gyfraith y teulu, ac fel Tad-frenin y mae'n cyfarfod gofynion dros ddynion na allent eu cyfarfod eu hunain. Ei gariad fel Tad-frenin ydyw ffynonell ei holl ddarpariadau grasol er iachawdwriaeth dynion. A thrwy gredu yn haeddiant Crist y mae dynion yn dod i feddiant â'r berthynas uchaf â'u Tad yr hwn

sydd yn y nefoedd, yn yr adenedigaeth. Mae y credadyn yn dod i feddiant o'r elfenau gogoneddusaf yn y fabolaeth ysprydol, a'r Dadolaeth ddwyfol yn dod i berffeithrwydd ymarferol yn ei pherthynas â dyn syrthiedig. Ac mae'n annhraethol bwysig i egwyddor y Tad-frenin, lle y mae cyfiawnder a thrugaredd yn ymdoddi i un daioni mawr, ddod i lywodraethu pawb o'r plant—delw lawn y Tad ar fywyd mewnol pob un o'r teulu. Mor annhebyg i'w dad oedd y mab hynaf yn y ddameg. A thybed nad *stroke* y ddameg hono, yn gystal a'r ddwy arall, ydyw ceryddu y plant sydd heb fod ar ddelw eu Tad-frenin? Ein perygl ni ydyw gweithredu y brenin gormesol, heb ynom ond ychydig o'r teimlad tadol a thyner; neu weithredu y tad meddal, heb ynom aiddgarwch dros reolau y teulu. Mewn ystyr ddynol mae llawer o'r ddelw ddwyfol mewn rhieni, oblegid y mae Tadolaeth Duw yn cynwys mamolaeth yn gystal. Efe ydyw gwreiddiol pob rhiaint. "O'r hwn," meddai yr apostol Paul, "yr enwir yr holl deulu," neu yn fwy cywir, "yr holl dadogaeth," yr hyn a gynwys famolaeth, "yn y nefoedd ac ar y ddaear." Ond wedi dod i'r cylch teuluaidd mwyaf ysprydol, ychydig o ddynion sydd yn dwyn allan, mewn bywyd, nodweddion y Dadolaeth ddwyfol.

## II.—Duw fel amgylchedd mawr bywyd dyn.

"Canys ynddo Ef yr ydym yn byw, yn symud, ac yn bod."

Edrychir ar fywyd dyn yma fel yn cael ei gylchynu gan Dduw. Mewn ystyr bwysig, mae bywyd dyn "ohono Ef," ac mewn rhyw ystyr bwysig, mae yn byw,

symud, a bod *ynddo Ef*. Mae felly fel creadur naturiol, ac mae felly fel creadur newydd—fel y mae yn greadur moesol, ac fel y mae yn sant.

Ni olyga hyn fod dyn yn rhan o Dduw, yn ol y syniad pantheistaidd; eithr golyga berthynas agosach â Duw nag a gynwysir yn y syniad deistaidd. Mae ei berthynas â'r greadigaeth yn fwy agos a byw na hyn. Tra nad yw dyn yn rhan o Dduw, mae perthynas weithgar a gwastadol yn bodoli rhwng Duw â bywyd dyn. Mae mewn cyffyrddiad parhaus â ni, eithr heb niweidio ein hunandeb. Nid yw bodolaeth Duw a dyn yn gymysgedig, ac eto nid ydynt yn wahanedig. Dyma, mae'n debyg, a olygir wrth "*the immanence of God*," yn ol yr ystyr ddiweddar a roddir i'r ymadrodd. Dywed Clarke fod "presenoldeb Duw yn cau deistiaeth allan, a rhyddid Duw yn cau pantheistiaeth allan." Nid gwir y syniad fod pob peth yn Dduw, ac nid gwir y syniad fod Duw yn bob peth. Y gwirionedd yw, mai "ohono Ef, ac iddo Ef y mae pob peth." Duw ydyw ffynonell yr oll, ac Arglwydd yr oll.

Gwelir fod *Tadolaeth* Duw yn dod i'r golwg yma eto mewn agweddau gwir brydferth a gogoneddus. Prif amgylchedd plentyn ydyw ei rieni. Hwynthwy a'i hamgylcha â mwyaf o ofal a thrafferth. Gwerthfawr yn ngolwg y plentyn ydyw y bwyd, y diod, y dillad, a'r diddosrwydd, &c., a dderbynia gan ei rieni; ond annhraethol werthfawrocach ganddo ydyw y rhieni eu hunain i'w garu, ei gofleidio, a chymdeithasu âg ef. Amgylchedd rhieni fel personau byw ydyw yr anwylaf gan y plant.

Dyma, mi debygwyf, a ddysgir yn y testyn—Duw fel Tad anfeidrol yn amgylchedd mawr bywyd dyn. Yn awr, gan i Dduw, yn y dechreuad, anadlu yn ffroenau dyn anadl *bywydau*—y llysieuol, gan fod yr elfen dyfol ynddo,—yr anifeilaidd, gan y geilw am gynaliaeth faterol,—y feddyliol, gan ei fod yn greadur deallgar,—a'r ysprydol, gan fod ynddo gymwysder i fod yn dragwyddol dda,—mae yn hanfodol i'r amgylchedd dwyfol iddo gael ei nodweddu gan amrywiaeth gogoneddus. Ac felly, mae y Tad nefol yn amgylchedd a chyflenwad i fywyd aml-agweddog plant dynion. Ac mae'n annhraethol bwysig i ni sylweddoli nas gallwn fyw o gwbl yn llwyddiannus tuallan i'n hamgylchedd mawr. Yn hyn, mae gwahaniaeth arbenig rhwng perthynas plant â'u rhieni dynol, a pherthynas dynion â Duw. Rhwymedigaeth neillduol plant dynion ydyw ymdrechu byw yn annibynol ar eu rhieni, ebrwydded ag y gallant. Dyma drefn ddoeth Rhagluniaeth yn mherthynas plant dynion â'u gilydd, gan nas gŵyr plant y dydd na'r awr y collant eu rhieni. Eithr yn ein perthynas â Duw, nis gallwn fyw am foment ar wahân i'n hamgylchedd dwyfol. Mewn ystyr bwysig, ac am byth, rhaid i ni "fyw, symud, a bod ynddo Ef." Mae Ef yn ymyru trwy gyfryngau, neu yn ddi-gyfrwng, â datblygiad yr holl fywydau sydd yn ymdoddi i'w gilydd i ffurfio bywyd mawr a gogoneddus y dyn perffaith—"y dyn Duw, wedi ei berffeithio i bob gweithred dda." Pan y mae dyn yn ceisio byw ar wahân i'w amgylchedd mawr, mae'n syrthio i drueni a gofid digymysg. Mae helynt a thrueni y Mab Afradlon yn y ddameg, yn ddesgrifiad tarawiadol

iawn o gyflwr dynoliaeth yn mhob ystyr ar wahân i amgylchedd y Tad tragwyddol. Nodwn

1. *Fod Duw Dad yn amgylchedd ein cyrff, trwy ei drugareddau a'i ddeddfau naturiol.*

Gogwydd dysgeidiaeth bresenol gwyddoniaeth ydyw, ein hanalluogi i benderfynu beth mewn gwirionedd ydyw deddfau natur. Mae y meddwl dynol yn darganfod rhyw ddeddfau newyddion yn fynych, ag ydynt, mewn rhyw ystyr, yn gwneud i ffordd â'r angenrheidrwydd am y deddfau trwy ba rai y gweithredid yn flaenorol. Pe desgrifid y deddfau newydd-ddarganfyddedig, sydd yn cyraedd amcanion mor ardderchog yn mywyd materol cymdeithas, lai na chan' mlynedd yn ol, fe gawsai pwy bynag wnaethai hyny ei gyfrif yn wallgof; a hyny am yr ystyrient y cyfryw yn anmhosibl, ac hefyd am eu bod yn gwneud y posibl yn ddiangenrhaid mwyach. Ond dyma'r gwirionedd presenol parthed deddfau y byd materol. Mae yma rhyw ddeddfau newyddion fel pe am gymeryd lle yr hen, a'r angredadwy gynt yn dod yn ffeithiau byw ac anwadadwy. Pwy, gynt, fuasai yn gallu gweled esgyrn y corff dynol heb yn gyntaf ddefnyddio y *lancet* i symud y croen a'r cnawd oddiarnynt? Eithr maent yn gallu megis ddileu y cnawd, er mwyn datguddio yr esgyrn gyda'r *Rontgen light*. Pwy, gynt, fuasai yn credu y posiblrwydd i anfon pellebyr trwy yr awyr heb yr un wifren i'w gludo? Eithr y mae hyny yn cymeryd lle yn awr trwy y *Wireless Telegraphy*. Pwy, gynt, fuasai yn credu y posibilrwydd o roddi llais a llafar dyn mewn peiriant, a'i ollwng allan pan y mynir a

lle y mynir, er dyddordeb a syndod i'r byd? Eithr fe wneir hyny yn awr gyda'r *Gramaphone.* Y casgliad y rhaid dod iddo oddiwrth hyn oll ydyw, nas gwyddom eto rif, mawredd, ac amrywiaeth deddfau y byd materol. A chan eu bod megis yn gwneud i ffordd â'u gilydd, tybed nad moddau Bôd mawr, hollalluog, deallgar, a rhydd, o ddefnyddio elfenau natur i amcanion cyffredinol neu neillduol ydynt? Mae darganfyddiadau newyddion gwyddoniaeth yn yr oes hon, yn gwneud yn anhawddach penderfynu yn derfynol a oes yna ddeddfau sefydlog a digyfnewid yn natur. Gogwydd y prawf ydyw fod yn y byd materol rhyw hydwythedd ac ufudd-dod i feddwl mawr, nas gwyddys eto ei eithaf-bwynt. Mae felly i'r meddwl dynol, yn y darganfyddiadau a'r defnyddiad o ddeddfau, pa rai, er wrth gwrs yn hen, ydynt newydd i wybodaeth dynion. Beth ydynt, gan hyny, i'r meddwl dwyfol, awdwr a chynaliwr pob peth?

Haera llawer o ddysgedigion fod gwyrthiau y Beibl yn anmhosibl; eithr gogwydda gorchestion rhyfeddol gwyddoniaeth ddiweddar i brofi nas gwyddom beth sydd bosibl i ddyn, chwaethach i Dduw. Hyd y gwyddom ni, mae posibilrwydd y byd materol yn ddiderfyn yn ei ufudd-dod i weithrediad meddwl. Beth, gan hyny, ydyw gallu Duw yn ei berthynas â'r greadigaeth? Onid moddau gweithrediad ei ewyllys a'i allu ydyw deddfau adnabyddus natur? Ac onid yw yn naturiol i ni gasglu fod yna fil-fil o ddeddfau eto ag ydynt anadnabyddus i ni heddyw? Gan y darganfyddir deddfau o'r newydd bob blwyddyn, mae yn dêg i ni gasglu fod llawer eto heb eu darganfod. Eithr yr oedd

y rhai sydd yn awr yn anadnabyddus i ni, yn adnabyddus i, ac o dan lywodraeth Duw o'r dechreuad. Pa fodd, gan hyny, pe gwyddem ni yr oll fel y gŵyr Duw, na wyddem hefyd fod gwyrthiau y Beibl yn gyson â deddfau manylaf natur, ac nid yn groes iddynt? Beth wyddom ni yn bresenol nad yw agor *canal* sych trwy ddwfr, a gyru y tir trwy y môr, mor unol a rhyw ddeddfau yn natur, ag ydyw gwneud *canal* gwlyb trwy y sychdir, a gyru y môr trwy y tir? Beth wyddom ni nad oedd yn y goeden daflodd Moses i ddyfroedd chwerwon Marah ar orchymyn Duw, ryw elfenau fferyllol roddai gyfrif boddhaol am eu pereiddiad, yn ol rhyw ddeddfau yn y byd materol? Ac os mai moddau gweithrediad gallu ac ewyllys Duw anfeidrol dda, ydyw y cyfryw ddeddfau, mae eu hamrywiaeth, eu rhifedi, a'u mawredd, yn gynyrch naturiol ei anfeidrol allu a'i ddaioni Ef. Fe ymddengys Duw, fel amgylchedd ein bywyd materol, yn nes atom yn ol dysgeidiaeth iachusaf gwyddoniaeth ddiweddar. A thrwy y meddyliau mawrion, i ba rai y datguddia Efe ddeddfau y byd materol, mae yn dod yn nes at ein bywyd meddyliol yn barhaus. Byddaf yn meddwl weithiau fod yr Arglwydd wedi galw ac ethol, ac wrth gwrs, gymhwyso dynion neillduol i dderbyn datguddiadau o gyfrinion y byd materol, fel y mae wedi galw, ethol, ac ysprydoli dynion sanctaidd i dderbyn datguddiadau o gyfrinion y byd ysprydol. Ac yn y cyfryw ddatguddiadau, mae ei allu, ei ewyllys, a'i ddaioni, yn dod i ymddangos yn amgylchedd agosach i'n bywyd materol yn wastadol; a ninau yn gweled mwy o ogoniant

yr ymadrodd, "canys ynddo Ef yr ydym yn byw, yn symud, ac yn bod."

2. *Mae Duw yn amgylchedd bywyd ac yni meddyliol dyn.*

Mae'n eithaf amlwg fod gweithrediad iachus y meddwl yn dibynu yn helaeth ar iachusrwydd organau gweithrediad y meddwl yn yr ymenydd, &c. Y Duw a wnaeth yr ymenydd, sydd hefyd ar amodau pwysig o'n tu ni, yn amddiffyn a chynal y cyfryw; a thrwy hyny yn cwmpasu y meddwl ei hun â'i ofal tadol. Mae ei wyliadwriaeth dros y synwyrau corfforol, ag ydynt organau ein galluoedd meddyliol, yn rhyfeddol o dyner a serchog. Ac er mwyn ein deffroi i sylweddoli ei ddaioni yn hyn oll, mae'n goddef i rai golli gwasanaeth ardderchog eu meddwl. Mae ynom duedd mor gref i gymeryd y clod am bob elfen o nerth sydd ynom, nes y mae ein Tad trugarog yn gweled yn ddoeth ein darostwng ar y ffordd, gyda'r amcan o'n deffroi i ystyried gwerthfawredd ei ddaioni i ni. Felly y gwna weithiau gyda'n synwyrau. Da fuasai i ni gadw yn fyw yn ein meddwl yn wastadol y berthynas agos âg sydd rhwng ein galluoedd meddyliol, a'i feddwl anfeidrol Ef. Byddai ein tadau yn hoff iawn, yn eu gweddïau teuluaidd a chyhoeddus, ac yn ddiddadl yn eu gweddïau dirgelaidd, o ddiolch i'r Arglwydd am iddo ddiogelu eu synwyrau iddynt o ddydd i ddydd. Da fuasai i ninau, yn yr oes ddysgedig a diwylliedig hon, beidio anghofio mai ei ofal mawr a thyner am ein hymenydd a'n meddwl, sydd yn gwneuthur addysg a diwylliant yn bosibl i ni; ac efelychu ein tadau mewn diolchgarwch

gwastadol iddo, am fod yna amgylchedd o feddwl anfeidrol i'n meddwl meidrol a dibynol ni.

3. *Mae Duw yn amgylchedd mawr ein bywyd ysprydol trwy gymdeithasiad llawn.*

Fel mae rhieni ydyw amgylchedd uchaf ac agosaf plant, felly Duw ydyw amgylchedd uchaf ac agosaf y rhai sydd wedi eu geni oddiuchod—wedi eu geni o Dduw. Dyma lle yr erys y berthynas a'r cyffyrddiad agosaf a mwyaf uniongyrchol Duw â'i blant. Dyma'r "gymdeithas gyda'r Tad, a chyda'i Fab Ef, Iesu Grist." Mae y plant yn mwynhau llawer o bethau a dderbyniant gan eu rhieni; eithr y rhieni eu hunain ydyw yr amgylchedd anwylaf a gogoneddusaf yn eu golwg hwynt. Ni all y fam amgylchu ei phlant â dim mor foddhaol ganddynt a'i breichiau, ei mynwes, a'i chariad ei hun. Felly y teimla plant Duw. Tra yn ddiolchgar am Ei holl roddion, fel y maent yn llanw y greadigaeth o'u cwmpas, ac fel eu tywallter iddynt gan ei Ragluniaeth haelfrydig; eto y berthynas anwylaf ac agosaf ydyw yr un âg Ef ei Hunan. Mae hon yn berthynas agosach na'r eiddo y myfyriwr a'i bwnc. Gwir fod Duw fel pwnc yn annhraethol bwysig, gan mai trwy ei efrydu yr ydym mewn rhan yn dod i wybod pa fath un ydyw y Tad sydd yn ein hamgylchu âg Ef ei Hunan. Ond rhaid i'r berthynas ddod yn agosach na hyn mewn trefn i dderbyn holl fudd posibl yr amgylchedd dwyfol. Nid *myfi* ac *Efe* ydyw y berthynas agosaf a mwyaf, eithr *myfi* a *Thydi*. Nid y myfi yn myfyrio amdano Ef fel pwnc, eithr myfi yn dyfod *atat Ti* fel Tad byw, llawn cariad a nerth personol. Mae

ieithwedd yr Ysgrythyr yn ei osod gerbron fel y cyfryw amgylchedd agos. Mae ei lygaid tyner yn edrych arnom; a'i glustiau yn ogwyddedig at lef ein gweddïau; ac "odditanom y mae breichiau tragwyddol." Mae Efe nid yn unig yn gweled ac yn clywed ei blant, eithr hefyd yn eu hamgylchu â'i freichiau a'i fynwes ddwyfol.

Dyma amgylchedd sydd yn gweithredu tufewn i bob amgylchedd arall. Pan fydd cyfryngau ei amgylchedd naturiol yn tori lawr, a phan y bydd amgylchedd tad a mam, brodyr a chwiorydd, a chyfeillion ffyddlon, yn gorfod symud ymaith o bob perthynas â ni, fe ddeil yr amgylchedd personol gogoneddus hwn am byth. Ac nid yw colli y lleill oll, yn gadael ar ei ol yr ymwybyddiaeth o dlodi a gwir golled, tra y mwynheir y rhagorfraint o newid llygaid â Duw, o gadw ein genau wrth ei glust Ef, a chael ei enau yntau wrth ein clust ninau, a theimlo fod ei freichiau cryfion a thragwyddol yn nes at ein henaid ni na'n corff. Pan gollodd Job bob peth a roddwyd iddo gan Ragluniaeth—ei holl feddiannau, ei gyfeillion, a hyd nod ei deulu, ac yn ddiweddaf oll ei iechyd, mae'n gallu ymorfoleddu yn ei Arglwydd. Pan nad oedd ganddo ond "cragen i ymgrafu â hi" ar y domen, mae'n arddangos nerth a mawrfrydedd yspryd ardderchocach nag erioed. Pan yn y cyflwr isel a phoenus hwn y mae ei wraig yn ceisio ei berswadio i felldithio Duw a marw. Ond nid ar y pethau gweledig a roddwyd iddo gan yr Arglwydd yr oedd Job yn byw, eithr ar yr Arglwydd ei hun trwy gymdeithasiad personol byw a brwdfrydig. A dyna paham y gallodd lefaru geiriau mor gryfion a mawrfrydig wrth ei wraig. "Lleferaist fel y llefarai un o'r ynfydion;

a dderbyniwn ni gan Dduw yr hyn sydd dda, ac ni dderbyniwn ni yr hyn sydd ddrwg?" Yr hyn roddodd nerth iddo i wneud y fath ddatganiad gwrol ac urddasol a hwn ydoedd ei ymwybyddiaeth o'r amgylchedd dwyfol a fwynhai ei yspryd. Nid oedd ganddo ar y pryd ond *cragen* a Duw; ond yr oedd cragen a Duw yn anfeidrol fwy na phob peth *heb* Dduw. O am allu "byw, symud, a bod" yn ysprydol yn nghanol cyfoeth ac ysprydoliaeth cymdeithas byth-barhaol y Tad tragwyddol. Amen.



# PARHAD TYSTIOLAETH DUW I GRIST YN Y CRISTION.

"*Os tystiolaeth dynion yr ydym yn ei derbyn, y mae tystiolaeth Duw yn fwy; canys hyn yw tystiolaeth Duw, yr hon a dystiolaethodd efe am ei Fab,*" &c.

1 IOAN V. 9—12.

SYLWEDD dysgeidiaeth yr Apostol yn y bennod hon, ydyw Iesu Grist fel Mab dwyfol Duw, ac fel Gwaredwr eneiniedig Duw i ddyn colledig.

Yn adran flaenaf y bennod hon, dengys yr Apostol fel y mae ffydd fywiol yn Nghrist, fel Mab Duw a Gwaredwr anffaeledig dyn, yn sicrhau effeithiau gogoneddus. 1. Cynyrcha berthynas ail-enedigol â Duw. "Pob un sydd yn credu mai Iesu yw y Crist, o Dduw y ganed ef." Gwelir oddiwrth yr ymadrodd hwn, nid yn unig fod ffydd yn amod cynyrchiad y berthynas fendigedig hon, eithr hefyd yn gynyrch a nodwedd y berthynas ei hun. Mae y ffydd sydd yn derbyn Crist yn cynyddu tuag ato, wedi ei dderbyn. 2. Perthynas o ufudd-dod i gyfraith Duw. "Canys hyn yw cariad Duw, bod i ni gadw ei orchymynion Ef, a'i orchymynion Ef nid ydynt drymion." 3. Gallu gorchfygol dros y byd yn ei hunanoldeb, ei hudoliaethau, a'i demtasiynau. "Pwy yw yr hwn sydd yn gorchfygu y byd ond yr hwn sydd yn credu mai Iesu yw Mab Duw?"

Yn yr adran nesaf, mae yr Apostol yn ymsymud yn

naturiol at dystiolaeth Duw i'w Fab fel sylfaen gadarn ein ffydd *yn* y Mab. A gadael allan yr ymadroddion diawdurdod sydd yn y dystiolaeth hon, mae y geiriau, yn yn ol y Cyfieithiad Diwygiedig, yn darllen fel hyn, "A'r Yspryd yw yr hwn sydd yn dwyn tystiolaeth, oblegid yr Yspryd *ydyw* y gwirionedd. Oblegid mae tri yn dwyn tystiolaeth—yr Yspryd, y dwfr, a'r gwaed, a'r tri yn un y maent yn cytuno," neu yn cytuno *i'r un peth*, sef fod Crist yn Fab Duw, ac yn Waredwr dyn. Y syniad mwyaf cyson a naturiol parthed y dystiolaeth ddwyfol driphlyg hon ydyw fod yr Yspryd, y dwfr, a'r gwaed, yn cyfeirio at ddisgyniad yr Yspryd Glân ar Grist yn ei fedydd yn yr Iorddonen, ac at ei farwolaeth ar y groes. Mae y ffeithiau mawrion hyn yn cael eu cadw yn yr eglwys Gristionogol trwy yr oesau, ac yn meddu eu holyniaeth yn yr eglwys er amser preswyliad y Gwaredwr yn y byd. Yn gydfynedol â disgyniad y golomen ddwyfol ar yr Iesu adeg ei fedydd, mae llais yn dyfod o'r un man a'r golomen, gan ddywedyd, "Hwn yw fy anwyl Fab yn yr hwn y'm boddlonwyd." Clywyd llais yn dywedyd geiriau cyffelyb amdano drachefn ar fynydd y gweddnewidiad. A phan draddododd Petr bregeth ar ddydd y Pentecost, yn dysgu "ddarfod i Dduw wneuthur yn Arglwydd ac yn Grist yr Iesu hwn a groeshoeliasoch chwi," disgynodd yr Yspryd Glân mewn nerth mawr ar y lluaws oedd yn gwrando nes iddynt gael eu "dwys-bigo yn eu calonau, a dywedyd wrth Petr, a'r Apostolion ereill, Ha wŷr frodyr, beth a wnawn ni?" Ac yn ol hanes goreu yr eglwys, methwn a chael prawfion fod yr Yspryd dwyfol yn defnyddio ond y

weinidogaeth am Grist fel Mab Duw, ac fel Iawn anfeidrol dros bechod, er dwyn dynion i edifarhau am eu pechodau, a dod i adnabyddiaeth o drawsffurfiad ardderchog mewn cymeriad personol. Nid ydym yn cael prawfion fod pregethu Crist yr Undodwyr wedi llwyddo i godi dynion o'r "pydew erchyll, ac allan o'r pridd tomlyd, gan osod eu traed ar y graig." Nid oes arwyddion o nerthoedd dwyfol yn cydfyned â'r athrawiaeth hon er gwneud saint o wehilion cymdeithas. Y rhai sydd wedi eu magu ganddynt hwy eu hunain, neu ddynion deallgar, diwylliedig, yn nghwrs eu disgyniad ysprydol, sydd yn gwneud Undodwyr. Eithr mae effeithiau gogoneddus pregethiad y Crist croeshoeliedig, yn sicrwydd llawn fod yr Yspryd a ddisgynodd ar yr Iesu yn ei fedydd, ac a ddisgynodd ar ddydd y Pentecost, yn aros yn yr eglwys o hyd, yn un ffurf i dystiolaeth barhaol Duw i'w Fab. Mae y bedydd drachefn wedi aros yn yr eglwys mewn rhyw ffurf o fedydd Crist hyd yr awr hon. Mae'r ordinhad yn cadw ffurf arall i dystiolaeth Duw i'w Fab. Ac at hyn oll, mae'r ordinhad sanctaidd o Swper yr Arglwydd wedi aros yn yr eglwys o'r nos y bradychwyd Ef hyd yn bresenol. Mae y tri hyn o ganlyniad yn cytuno i'r un peth, a'r oll yn cynwys tystiolaeth Duw am ei Fab.

Mae geiriau y testyn yn cynwys dysgeidiaeth bellach parthed y cyfryw dystiolaeth fel mae'n cael ei sylweddoli yn mhrofiad y gwir gristion. A dyma'r mater a ddysgir yn y testyn, *Parhad tystiolaeth Duw am Grist yn y cristion.*

"Yr hwn sydd yn credu yn Mab Duw sydd ganddo *y* dystiolaeth, neu y tyst *ynddo* ei hun."

Mae y fannod "*y*" sydd yn y testyn, yn gwneud y gwirionedd hwn yn hynod glir a byw. Nid tystiolaeth newydd, wahanol, er yn gyson, â'r eiddo Duw ydyw, eithr *y* dystiolaeth ddwyfol wedi ei sylweddoli yn mhrofiad y cristion trwy ffydd. Nid eilun newydd o dystiolaeth Duw i'w Fab a olygir, eithr y peth mawr ei hun yn drosglwyddedig i brofiad y credadyn. Mae y Tad, trwy weithrediad ei Yspryd, yn gosod ei syniadau a'i deimladau ei hun yn nghalon yr hwn sydd yn credu. "Y mae ganddo *y* dystiolaeth ynddo ei hun." Nid y mae ganddo dystiolaeth na bu gan neb o'r blaen, eithr *y* dystiolaeth roddodd Duw ei hun o'r blaen, "*ynddo ei hun*." Nid cywir dyweyd mai eilun o'r genadwri a anfonir o Liverpool gyda'r *Atlantic Cable* a dderbynir yn New York, eithr *y genadwri ei hun*. Felly hefyd tystiolaeth Duw ei hun, nid eilun ohoni, ydyw yr eiddo profiad y cristion. Yn yr adran flaenorol mae eilun o dystiolaeth Duw yn cael ei ddysgu. Mae tystiolaeth Duw yn fwy na'r eiddo dynion, am fod Duw yn fwy na dynion mewn gwybodaeth a gwir burdeb; ac felly, os derbyniwn dystiolaeth dynion yn nglŷn â'r pethau a berthynant i ddynion, yn sicr dylem gopïo yr eiddo Duw sydd yn anfeidrol fwy. Eithr mae y dystiolaeth ddwyfol yn gwneud mwy yma nag apelio am gydsyniad y meddwl, a chael ei chopïo mewn crediniaeth; mae y dystiolaeth ei hun, a'r gwrthddrych goruchel, yn dod yn rhan o ymwybyddiaeth â bywyd mewnol yr hwn sydd yn credu yn Mab Duw.

Er gwneuthur y mater hwn yn fwy eglur gellir nodi yn

I.—FOD NERTH YSPRYDOL A DWYFOL CRIST YN DOD YN BERCHENOGAETH YR HWN SYDD YN CREDU YNDDO.

Mae yn y geiriau hyn ddau ymadrodd sydd yn gwneud y gwirionedd hwn yn glir a tharawiadol. "Yr hwn sydd yn credu yn y Mab," a "mae y Mab ganddo." Golyga y ddau ymadrodd hyn fod *y Mab* gan yr hwn sydd yn credu ynddo fel perchenogaeth gyfoethog. "*Mae* y Mab ganddo."

Mae y gwirionedd hwn yn dod yn fwy eglur pan ystyrir *arbenigrwydd y ffydd* a ddysgir yn y testyn. Nid credu *am* Fab Duw a olygir yn benaf, eithr credu *yn*, neu yn ol y Cyfieithiad Seisnig Awdurdodedig a Diwygiedig, credu *ar* Fab Duw. Golyga hyn nid yn unig gydsyniad y meddwl â'r hyn a dystiolaethir am y Mab, eithr symudiad yr holl enaid at, a'r ymorphwysiad llwyr *ar* y gwrthddrych ei hun. Nid seliad meddyliol i'r dystiolaeth parthed Mab Duw, eithr cyffyrddiad personol âg Ef ei hun. Dyn yn *testio* nerth personol Crist trwy orphwys ei enaid arno.

Effaith naturiol hyn ydyw fod gwrthddrych y math yma o ffydd yn dod yn eiddo yr hwn sydd yn credu. Beth bynag ydyw adnoddau gwrthddrych ein ffydd, dyna sydd yn dod yn eiddo i ni. Os gwendid cymeriad fydd nodwedd y gwrthddrych, gwendid cymeriad y cyfryw ddaw i mewn i'n bywyd ninau. Os bydd i ni gredu yn gryf mewn person twyllodrus ac anonest, fe ddaw ei gymeriad pwdr yn elfen o drueni i'n bywyd personol mewn rhyw ffurf. Credodd miloedd yn nidwylledd yr anghenfil Jabez Balfour, a dioddefasant lawer o'r herwydd. Pan y pwysa ffydd dyn ar ffon doredig, hi

a aiff trwy ei law. Ond os bydd i ni gredu *ar* neu *yn* y cadarn, y didwyll a'r ffyddlon, daw ei ragoriaethau yn nerth i'n bywyd. Os pwyswn ar y breichiau tragwyddol, daw nerth y breichiau hyny yn eiddo i ni. Fel hyn y mae Mab Duw, yn mhurdeb a dwyfoldeb ei Berson, ac yn haeddiant achubol a glanhaol ei waed, yn *dod* yn eiddo ac yn *aros* yn eiddo y gwir gredadyn. I'r sawl na feddant ond ffydd ddeallol yn unig, gall Crist fod yn mhell *acw* ac yntau *yma*, heb berthynas rhyngddynt sydd yn dod yn allu yn eu bywyd. Eithr mae y sawl sydd yn credu ar y Mab yn ei feddiannu fel *force* mwyaf eu bywyd uchaf. "Mae y Mab ganddo."

Arweinia hyn ni i sylwi yn

II.—Fod y bywyd tragwyddol sydd yn drysoredig yn Mab Duw, yn dod yn berchenogaeth yr hwn sydd yn credu.

"A'r bywyd hwn sydd yn ei Fab Ef. Yr hwn y mae y Mab ganddo, y mae y bywyd ganddo."

Mae i'r ymadroddion hyn nodwedd resymegol. Os ydyw y sawl sydd yn credu yn meddiannu y Mab, ac os yw y bywyd tragwyddol yn y Mab, yna y mae meddu y Mab yn feddu y bywyd sydd ynddo; "a'r hwn y mae y Mab ganddo, y mae y bywyd ganddo." Gellir nodi yma yn

1. *Fod bywyd anfeidrol y Tad yn y Mab.*

Dywed Ef ei hunan, "Y neb a'm gwelodd i, a welodd y Tad." Rhaid gan hyny ei fod yn ogymaint, ac yn un â'r Tad. Os yw gweled y Mab yn weled y Tad, rhaid

mai yr un ydynt mewn rhyw ystyr rhy gyfriniol i ddeall meidrol dyn. Ac oni ddywed Efe hefyd, "Myfi a'r Tad un ydym." "Yr wyf fi yn y Tad," meddai drachefn, "a'r Tad ynof finau." Ac maent felly mewn ystyr bersonol. Ac nis gellir meddwl y naill yn y llall, a'r llall yn y naill, ond trwy fod yn un, oblegid mae y syniad o fod y naill yn y llall yn cynwys fod y naill yn llai na'r llall. Eithr yn yr achos hwn, mae y Tad yn llai na'r Mab, yn gystal a'r Mab yn llai na'r Tad. Nid oes gan hyny ystyr i'r ymadrodd hwn, ond eu bod yn un. Ceir golwg brydferth ac ardderchog ar y gwirionedd hwn gan yr Apostol Paul. "Y mae holl gyflawnder y Duwdod yn trigo ynddo yn gorfforol." Mae Crist yn cynwys yr oll o Dduwdod. "Y mae yn wir lun ei Berson," ac nis gellir cael llun person anfeidrol heb ei fod yn *life-size*, ac yn ogymaint a'r gwreiddiol. "Y mae yn ddisgleirdeb ei ogoniant," ac ni all fod yn llewyrch disgleiriaf gogoniant Duw, heb gynwys y gogoniant hwnw yn ei Berson.

2. *Mae bywyd ysprydol y Tad yn y Mab.*

Wrth fywyd ysprydol y Tad y golygwn ei gymeriad perffaith. Ac mae holl burdeb sancteiddrwydd a pherffeithrwydd cymeriad y Tad yn y Mab. Mae Efe yn "ddihalog a didoledig oddiwrth bechaduriaid." Tra yma ar y ddaear, darfu iddo fyw mewn pellter anfeidrol oddiwrth bob anmhuredd. Er byw yn nghanol pechaduriaid, a gwisgo cnawd cyffelyb i gnawd pechadurus, Efe a ymlwybrodd trwy y byd "heb arno na brycheuyn na chrychni." Mae dosparth o anffyddwyr iselwael wedi

gwneud ymgyrchoedd er ceisio dod o hyd i anmhuredd a llychwinder yn ei gymeriad gogoneddus; eithr mae'r oll wedi myned yn fethiant hollol. Ac mae'r anffyddwyr galluocaf oll dan orfod cydnabod perffeithrwydd anagosadwy ei gymeriad. Desgrifiant Ef fel colofn o fynor gwŷn a llachar, yn ymgodi i'r nefoedd yn uwch na phawb. Mae ei ôl Ef er gwell ar filiynau, eithr nid oes ôl neb arno Ef er gwaeth. Erys yn gwbl wrtho ei hun fel cymeriad moesol ac ysprydol yn hanes y byd. Mae esponio ei fywyd pur o safle ei gylchyniadau yn anmhosibl, oblegid nid oedd neb yn cydoesi âg Ef, nac yn oesi o'i flaen, ac y buasai eu dylanwad yn rhoddi y cyfrif lleiaf am ei gymeriad perffaith Ef. Gwedir ei dduwdod gan lawer; ond pa fodd i gyfrif am ei fywyd dynol glân a sanctaidd mewn cylchyniadau mor aflan ac ansanctaidd, heb ei olrhain i mewn i berthynas gyfriniol y dynol a'r dwyfol yn ei Berson, nis gwyddom, ac nis gŵyr neb arall chwaith. "Mab Duw" ydyw yr unig esponiad ar berffeithrwydd hollol cymeriad "Mab y dyn."

3. *Fod y bywyd ysprydol a thragwyddol hwn yn drysoredig yn Nghrist fel Cyfryngwr rhwng Duw a dynion.*

Fel Iawn mawr dros bechod, mae Crist yn gwneud yn iawn faddeu i bechadur, ac yn gyfiawn gyfiawnhau yr annuwiol; a thrwy hyny effeithio cymod anrhydeddus rhwng Duw a dyn. Fel y cyfryw, mae Crist, nid yn unig yn meddu y "bywyd tragwyddol" hwn yn ei Berson a'i gymeriad ei hun, eithr hefyd yn ei feddu i'w gyflwyno i ddynion trwy haeddiant ei aberth. Yr oedd yn ei feddu ynddo ei hun, ac iddo ei hun erioed; eithr fel Iawn a

Chyfryngwr mae yn ei feddu i'w roddi i ni. Nis gallai ddod at ddyn, na dyn ddod ato yntau, ond yn yr Iawn mawr. Bu farw "y Cyfiawn dros yr anghyfiawn, fel y dygai ni at Dduw."

Mae dyn, gan hyny, wrth feddiannu y Mab trwy ffydd, yn meddiannu y bywyd tragwyddol mawr ag sydd drysoredig ynddo. "Yr hwn y mae y Mab ganddo y mae y bywyd ganddo." Nid awdurdod i roddi y bywyd, a chadw ei hunan oddiwrthym, sydd gan Fab Duw, eithr awdurdod i roddi ei hunan, a thrwy hyny roddi y bywyd sydd ynddo. Nis gellir byth wahanu y Mab a'r bywyd, a phob un sydd yn gwrthod y Mab mae'n gwrthod bywyd tragwyddol. Dyma ydyw ystyr datganiadau melus Gair Duw. "Crist ynoch"—yn preswylio ynoch, ac wedi ei ffurfio ynoch. "Y mae i ni gymdeithas gyda'r Tad a chyda'i Fab Ef, Iesu Grist." A dywed Ef ei hun, "Myfi ynoch chwi, a chwi ynof fi." Sylwn yn

III.—Fod perchenogaeth fewnol bywyd tragwyddol yn Nghrist, trwy ffydd, gan hyny, yn cynwys hefyd berchenogaeth fewnol sylwedd tystiolaeth Duw am Grist.

"Yr hwn sydd yn credu yn Mab Duw, sydd ganddo *y dystiolaeth ynddo ei hun.*"

Yr ydym eisoes wedi ceisio egluro a phrofi mai cynwys tystiolaeth Duw ydyw Iesu Grist ei hun fel Mab Duw, a Gwaredwr y sawl sydd yn credu ynddo. Ac yma gellir sylwi yn mhellach mai gwirioneddolrwydd sylwedd, neu gynwys y dystiolaeth, sydd yn rhoddi ynddi werth ymarferol. Nid yw tystiolaeth ond gair gwag a diystyr, os

nad yw yr hyn y tystiolaethir yn ei gylch yn bodoli yn hollol fel y datgenir ei fod. Mae'n rhaid i'r gair droi yn weithred er rhoddi sylweddolrwydd yn y dystiolaeth. Y weithred, yn ol y gair, sydd yn rhoddi gwerth a chadernid yn y gair. Mynych y ceir tystiolaethau cryfion mewn newyddiaduron a phamphledau, &c., i alluoedd mawrion meddygon a meddyginiaeth. Mewn llawer o engreifftiau, mae dod i gyffyrddiad gwirioneddol â'r feddyginiaeth wedi profi mai gair gwag a disylwedd oedd y dystiolaeth iddo. Ac mewn engreifftiau ereill, mae *testio* y feddyginiaeth wedi dod i wireddu a sylweddoli gair y dystiolaeth. Gweithred ymarferol sydd yn rhoddi sylwedd i'r gair yn mhob cysylltiad. "Bydded goleuni"—dyna air; "a goleuni a fu"—dyna weithrediad, sydd yn rhoddi ystyr, gwerth a grym yn y gair. "Lazarus, tyred allan"—dyna air; "a'r hwn a fuasai farw a ddaeth allan"—dyna weithred, sydd yn dangos nerth personol y llefarydd. Mae rhywbeth cyfochrog â hyn yn cael ei ddysgu yn y testyn. "A hon yw y dystiolaeth: roddi o Dduw i ni fywyd tragwyddol; a'r bywyd hwn sydd yn ei Fab ef." Dyna air y dystiolaeth gan y Tad. "Yr hwn mae y Mab ganddo, y mae y bywyd ganddo." Dyna sylwedd gair y dystiolaeth yn mhrofiad y cristion. Derbyn tystiolaeth Duw am ei Fab, ar bwys awdurdod personol y Tad yn ei Air, a wnaeth y credadyn i gychwyn. Ond trwy wneuthur felly, fe ddaeth y Mab ei hun, a'r bywyd tragwyddol sydd ynddo, i mewn i'w fywyd ysprydol ef. Mae tystiolaeth wrthddrychol y Tad i'r Mab yn dod yn dystiolaeth ddeiliadyddol yn y sawl sydd yn credu. Medda dystiolaeth Duw *ynddo* ei hun.

Nid yw perchenog bywyd tragwyddol, gan hyny, mewn angen cadarnhad i dystiolaeth Duw gan neb tuallan iddo ei hun. Medda sicrwydd llawn ynddo ei hun fod tystiolaeth Duw yn wir, am fod y gallu mawr achubol o eiddo y Mab, y tystiolaetha amdano, wedi dod i mewn i'w brofiad. Nis gall neb argyhoeddi perchenog iachawdwriaeth bersonol nad yw tystiolaeth Duw am ei Fab yn wir, oblegid fod y gwirionedd ei hun yn trigo ynddo. Nid credu yn y Mab ar air y Tad y mae bellach, eithr am fod gallu achubol y Mab wedi cynyrchu y cyfnewidiad yn ei fywyd mewnol ac allanol, yn ol tystiolaeth Duw. Mewn gair, mae sylwedd y dystiolaeth ei hun ynddo Ef: "Y mae ganddo y dystiolaeth ynddo ei hun."

Mae perchenog bywyd tragwyddol, gan hyny, yn cadarnhau geirwiredd a dilysrwydd Duw fel tyst ffyddlon i'w Fab. Ond mae pwy bynag nad yw yn credu yn y Mab, ac yn gwrthod ei dderbyn fel Gwaredwr, yn gwneuthur Duw yn gelwyddog. "Yr hwn nid yw yn credu yn Nuw a'i gwnaeth Ef yn gelwyddog." Peth ofnadwy ydyw gwneud y Duw mawr, ffynonell pob gwirionedd, yn gelwyddog; eithr dyna wna pob un sydd yn gwrthod y Mab fel Gwaredwr mawr ac anffaeledig. Yr anghredadyn yn unig sydd yn gwneud Duw yn gelwyddog. Pa mor hagr bynag yr ymddengys meddwdod, anlladrwydd, afradlonedd, ac anonestrwydd mewn bywyd, nid yw yr un o'r ffurfiau hyn ar ddrwg yn cyhoeddi Duw yn gelwyddog. Eithr y mae gwrthod credu yn ei Fab yn gwneuthur Duw yn gelwyddog fel tyst i'w Fab. Mae pob pechod yn dianrhydeddu Duw fel deddfroddwr, eithr mae anghredu yn ei Fab yn ei

wneud yn gelwyddog gerbron y cydfyd. Gwell fuasai genyf fod yn euog o bob drwg na chyhoeddi y Tad perffaith yn gelwyddog. Eithr y mae y sawl sydd yn credu yn y Mab yn gwneuthur Duw yn eirwir. Oblegid mae y bywyd tragwyddol, sydd yn y Mab, yn fywyd tragwyddol profiad pob un sydd yn credu ynddo. Ni fethodd y Mab wneuthur pobpeth oedd yn nhystiolaeth y Tad amdano, ac ni siomwyd gan hyny neb a gredasant ynddo. Dygwyd tystiolaeth i allu y Mab i wella afiechydon, cyfodi y meirw, bwrw allan gythreuliaid o ddynion, a maddeu pechodau. Ac oni wnaeth Efe hyn oll? Oni ddaeth llawer mudan i lefaru a moliannu, a llawer byddar i glywed moliant? Oni welwyd llawer cloff yn lluchio ei faglau, ac yn dechreu cerdded, neidio, a moli Duw? Oni welwyd meirwon yn dod yn ol o dir marwolaeth i gysuro eu hanwyliaid yn nhir y byw? Oni ffôdd ysprydion drwg wrth y miloedd o ddynion ar ei orchymyn hollalluog? Ac onid aeth llawer pechadur tlawd yn rhydd dragwyddol oddiwrth euogrwydd a llywodraeth pechod twy ei allu mawr achubol? Ac onid yw hyn yn cymeryd lle beunydd ar gyflyrau pechaduriaid mawrion? Onid oes miloedd yn fyw heddyw, fuont dan lywodraeth hollol pechod a'r diafol, eithr sydd yn awr yn eistedd yn hyfryd yn eu dillad ac yn eu hiawn bwyll, ac yn byw dan awdurdod llywodraeth a nerth Crist? Daw milfil o leisiau o bedwar pwynt y ddaear i roddi atebion cadarnhaol i'r cwestiynau hyn. Credu yn Nghrist, gan hyny, sydd yn gwneud Duw fel tyst i'w Fab yn dragwyddol eirwir yn nghalon pob gwir gristion. Ac mae meddiannu y profiad o Grist, a wna y Tad yn

eirwir, yr anrhydedd penaf yn bosibl i ddyn; ac mae ei gyhoeddi yn gelwyddog, trwy wrthod y Mab, y gwarth mwyaf i ddyn am amser a thragwyddoldeb.

Yn awr, y dystiolaeth hon *yn* y cristion fel y mae yn *un* â thystiolaeth Duw am ei Fab, sydd yn ffurfio grym, yni, a phurdeb ei gymeriad ysprydol. Dyma ddefnydd ardderchog gwroniaid Duw yn mhob oes. Dyma *martyr stuff* "ardderchog lu y merthyri." Mae y dystiolaeth hon ynddynt wedi profi yn gryfach na'u cariad at fwyniant, eiddo, iechyd, a bywyd. Cymerasant eu hyspeilio o'r pethau oedd ganddynt, a'u bywyd yn y fargen, gan wybod fod ganddynt eu hunain ysprydol, ailenedig, a sanctaidd, yn olud gwell ac un parhaus. Wedi i Media y *ddrama* golli ffyddlondeb ei phriod, ac wedi i'w phlant gael eu llofruddio, fe ofynwyd iddi, "Beth sydd yn aros?" Atebodd hithau, "fy hunan." Ac felly y gallasai llu ardderchog y merthyri ddatgan. Yr oedd ganddynt eu hunain cryfach na'u hamgylchoedd. Perchenogent y fath gyfoeth ysprydol yn eu personolaeth, yn ngrym y dystiolaeth hon yn eu profiad, ac a'u galluogodd i golli pob eiddo arall yn llawen. Mae cyfartal werth yn y dystiolaeth hon eto. Hi a geidw *sentry* ar fewnol ddyn y galon, a llesteiria ymosodiadau pob gelynion arnom. A phan y daw angau ei hun i ymaflyd ynom, nis gall gyffwrdd â chartref y dystiolaeth hon. A bydd ei dylanwad mor orhoenus y pryd hwnw, nes y bydd i angau gael ei lyncu mewn buddugoliaeth yn mhrofiad y cristion, fel rhagredegydd y llyncu mewn buddugoliaeth gan fywyd yr adgyfodiad yn y dydd diweddaf. Amen.

# YR YMDEIMLAD O BECHOD.

["Y Bregeth Dalaethol," a draddodwyd yn Synod Dalaethol Porthmadog, Mehefin, 1897].

"*Yn dy erbyn di, tydi dy hunan, y pechais, ac y gwnaethum y drwg hwn yn dy olwg*" (SALM LI. 4).

"*Pa fodd, gan hyny, y gallaf wneuthur y mawr-ddrwg hwn, a phechu yn erbyn Duw*" (GEN. XXXIX. 9).

CYNWYSA y geiriau cyntaf gyffesiad Dafydd o bechod mwyaf ei oes, gyda gwraig Urias yr Hethiad; a chynwysa y geiriau olaf ddatganiad o ymwrthodiad Joseph i gyflawni pechod cyffelyb gyda gwraig bechadurus a maleisddrwg Putiphar, tywysog Pharaoh.

Mae'n amlwg mai y gwirionedd mawr ddysgir yn yr oll ydyw, "*yr ymdeimlad o bechod,*" yn ei ddau brif nodwedd. Mae y blaenaf yn ymdeimlad o bechod personol cyflawnedig, neu euogrwydd meddwl; a'r olaf yn ymdeimlad o ddrwg pechod ynddo ei hun, er atal cyflawni pechod. Mae y blaenaf yn elfen hanfodol mewn edifeirwch am bechod cyflawnedig, a'r olaf yn elfen hanfodol yn y purdeb a'r sancteiddrwydd sydd yn diogelu rhag pechod. Parodd ymdeimlad Dafydd o'i bechod iddo ei adael, a pharodd ymdeimlad Joseph o bechod iddo ymwrthod yn eofn a'i gyflawni. Nid yw y blaenaf ond nodwedd ddamweiniol ac achlysurol bywyd y cristion. Oddieithr y credir fod pechu yn hanfodol i'r bywyd crefyddol, ni all y nodwedd hwn i'r ymdeimlad ohono

fod ond achlysurol. Ac er y llefara Mr. Wesley am "edifeirwch mewn credinwyr," mae achlesu y syniad fod pechu yn elfen angenrheidiol i fywyd y cristion yn beryglus i'r eithaf. Eithr y mae'r ymdeimlad dwfn a pharhaol o ddrwg pechod, fel gwrthdarawiad i ewyllys a deddf Duw, yn hanfodol i fywyd pur a pherffaith. Dyma yr elfen fwyaf Duw-debyg sydd yn y cristion. Mae hyn yn cynwys sylweddoliad ohono fel "y mae yn lanach ei lygaid fel nas gall edrych ar ddrwg." A gwelir yn glir fod yr ymdeimlad hwn o bechod yn sicrwydd o'r llall os daw pechod gweithredol, yn y graddau lleiaf, i mewn i gylch ein bywyd ymwybyddol ac ymarferol.

Diau y synia pawb sydd yn ddeiliaid argyhoeddiadau moesol cryfion, fod y mater hwn yn hynod o amserol, ac yn dra theilwng o ystyriaeth ddifrifolaf yr oes hon. Bwriadaf gyfyngu fy hun i'r nodweddau i'r "ymdeimlad o bechod," sydd yn fwyaf pwysig i'w gadw yn fyw gerbron yr eglwys a'r byd, yn ngwyneb gogwyddiadau presenol yr oes hon. Sylwir yn syml ar

## Yr ymdeimlad o ddrwg pechod fel elfen hanfodol mewn cymeriad crefyddol cryf a chyflawn.

Nid yw yn annaturiol o gwbl i'r cwestiwn ymgodi yma mewn unrhyw feddwl ymchwilgar. Paham y gosodir y mater gerbron fel "*ymdeimlad o bechod*," yn hytrach nag fel *ymsyniad* o bechod? Yr unig atebiad a feiddiaf roddi i'r cyfryw ofyniad ydyw, am fod rhai o *wirioneddau mwyaf a dyfnaf* bywyd dyn yn dod yn ymsyniad i'r meddwl o ddyfnderoedd teimladau cyngreddfol cryfion yr enaid. Nid wyf am foment yn tueddu i ameu

cywirdeb y dosparthiad uniawngred o alluoedd y meddwl dynol, i ddealltwriaeth, teimladrwydd, ac ewyllys. Eithr nis gallaf ddeall y syniad mai unig drefn caffaeliad gwybodaeth o *bob peth* ydyw deall yn gyntaf, ac yna teimlo, &c. Mae rhai o wrthddrychau pwysicaf oll y meddwl dynol yn dod yn ymsyniad trwy ddod yn ymdeimlad. Oddiyma y cyfyd yr ymsyniad o'n *bodolaeth* ein hunain. Rhyw ymdeimlad ydyw ag sydd yn nerth elfe.iol mawr yn ein natur,—ag sydd yn treiddio yn is, ac esgyn yn uwch na'n rheswm. Cyffelyb ydyw yr ymdeimlad o *ddibyniaeth* ag sydd yn ymgodi yn uniongyrchol o'r ymdeimlad o'n bodolaeth. Nid teimlo ein dibyniaeth trwy ei wybod yr ydym, eithr ei wybod trwy ei deimlo. Nid oes dim cryfach na dyfnach na'r ymdeimlad hwn yn ein natur feddyliol. Ac o hwn drachefn yr ymgyfyd yr ymdeimlad o Wrthddrych mawr ein dibyniaeth—*Duw*. Gwir fod datguddiad o Dduw yn angenrheidiol i gywiro y syniad am Dduw a ymgyfyd o'r cyfryw ymdeimlad, yn gystal ag i angerddoli a bywiogi yr ymdeimlad ei hun. Yr ymdeimlad hwn o'r "Duw nid adwaenir," heb ei gywiro trwy ddatguddiad, sydd wrth wraidd addoliad cyffredinol y paganiaid. Nid y datguddiad ydyw cynyrchydd y duedd addolgar sydd mewn dyn—mae yn ei natur ysprydol. Eithr y datguddiad dwyfol sydd yn ei ddatblygu i ymsyniad cywir a chyflawn am y gwir a'r bywiol Dduw—y Duw ag yr ymdeimla dynolryw eu bod mewn modd annelwig yn dibynu arno. Cynorthwyo y syniad, ac angerddoli y teimlad mawr hwn, y mae'r Ysgrythyrau sanctaidd fel datguddiad o Dduw.

O'r ymdeimlad hwn drachefn y cwyd yr ymdeimlad o *rwymedigaeth* ac *iawnder* (*right*). Nodweddir pob cenedl gan yr ymdeimlad hwn, ond bod angen cywiro y farn parthed ei gyfeiriad priodol. Mae mewn dyn rhyw ymdeimlad cyngreddfol o Dduw mawr a chyfiawn. Nid y lle olaf y mae Duw i'w gael yn ein hymresymiad ar y mater hwn. Mae yn Alpha, yn codi o'r ymdeimlad cyngreddfol o'i gyfiawnder; ac mae hefyd yn Omega, trwy ddatguddiad i gywiro yr ymsyniad o'i gyfiawnder.

Gellir eto nodi *cariad* fel yn dod i gylch yr ymdeimlad cyngreddfol a chyfriniol hwn. Nis gellir ymresymu at gariad nac ymresymu oddiwrtho. Mae yn rhyw ymdeimlad cyngreddfol "cryfach nag angau." Ac nis gellir byth roddi cyfrif deallol ohono. Gwir fod y gwrthddrych yn dod gerbron y meddwl, eithr nid oes yna gwrs o ymresymiad yn ol deddfau prydferthwch *(æsthetics)* yn cyfrif am yr ymdeimlad rhyfedd. Yn hytrach, yr ymdeimlad sydd yn ymddatblygu yn ymsyniad.

Diau mai yr ymdeimlad cyngreddfol hwn, yn y gwahanol ffurfiau a nodwyd, ydyw y gallu cryfaf yn natur foesol ac ysprydol dyn. Dyma'r cyngreddfiad arbenig ar gyfer Duw a'r byd ysprydol. A phan y mae dyn yn fwyaf o *efe ei hun* gwirioneddol, y mae'r ymdeimlad hwn yn dod i fwyaf o amlygrwydd. Bu moment ar Voltaire pan y peidiodd a bod yn gynyrch celfyddydol cymdeithas Ffrancaidd y ddeunawfed ganrif, ac yr amlygodd y dyn gwirioneddol. Pan mewn tymestl ar yr Alpau, dywedir iddo syrthio ar ei liniau i *weddïo;* eithr wedi cyfodi ac adfeddiannu ei hunan-celfyddydol, mae'n dechreu rhegi, fel yr arferai wneud. Yr oedd yr ystorm

yn dwyn allan y gwir ddyn fel ei crewyd, ond wedi i'r ystorm fyned heibio, amlygwyd y Voltaire hunan-wneuthuredig.

Dywedir i ryw hunan-ymholiadau moesol aflonyddu meddwl Tyndale, y *positivist*, pan y safai yn syn-fyfyriol ar gopa y Matterhorn drylliedig. Cynyrchwyd y cyfryw feddyliau, nid trwy unrhyw gyffredinoliad gwyddonol, ond trwy nerth cyngreddfol ei galon ei hun. Llanwyd ef â meddyliau rhy ddyfnion i ddagrau.

Yn awr, fe berthyna yr "*ymdeimlad o bechod*" i'r dosparth hwn o wirioneddau cyngreddfol. Nid yw ond agwedd ar yr ymdeimlad o iawnder, yn ymgodi yn mhresenoldeb y meddylddrych neu y ffaith o bechod. O'r ymdeimlad o Dduw anfeidrol fawr, pur a chyfiawn, y cŵyd yr ymdeimlad o iawnder; ac o'r ymdeimlad hwnw, drachefn, y cŵyd yn uniongyrchol yr ymdeimlad o bechod. Nis gellir perchenogi yr ymdeimlad o gyfiawnder heb yr ymdeimlad o'r gwrthdarawol iddo—pechod. Dyma lle yr erys yr ymdeimlad o rwymedigaeth i dderbyn y da a gwrthod y drwg.

Gwelir, bellach, fod ymdeimlad cryf a byw o ddrwg pechod yn cynwys *cyflwr deffroedig y gydwybod* yn ei pherthynas â da a drwg. Meddylia rhai nad yw y gydwybod yn allu arbenig yn yr enaid, eithr yn deimlad cyffredinol yr enaid o iawnder tragwyddol. Pa fodd bynag am hyny, ffynonell y cyfryw ymdeimlad ydyw yr ymdeimlad o awdurdod a chyfiawnder y Llywydd mawr.

Wedi ymgrwydro am lawer blwyddyn i anialwch agnosticiaeth, trwy rym dealltwriaeth noeth, ar linellau

gwyddonol, mae y diweddar enwog Romanes yn dychwelyd at Dduw a Christionogaeth, trwy ddod o hyd i'w natur foesol ac ysprydol ei hun, o ba un y mae yn methu rhoddi cyfrif boddhaol o gwbl ar dir gwyddoniaeth naturiol. Ffrwyth yr ymchwil a'r ymdrechfa feddyliol ofnadwy hon oedd dosparthu cyfansoddiad dyn i *anifeiliaeth*, *dealltwriaeth*, *moesolrwydd*, ac *ysprydolrwydd*. Ymddengys mai wrth ddilyn y ddau flaenaf yn unig, am amser maith, y cyfeiliornodd efe oddiwrth Dduw; eithr wrth wrando ar leisiau clir moesolrwydd ac ysprydolrwydd ei natur, y teimlodd ei hun yn dod i gyd-darawiad â dysgeidiaeth yr Ysgrythyrau parthed Duw, a bywyd ysprydol mewn undeb âg Ef. A thrwy ddilyn y llwybr gogoneddus hwn dygwyd ef i gofleidio bywyd trwy ffydd yn Nghrist, a bu farw mewn sicrwydd mawr, wedi bod yn aelod o eglwys Dduw am gyfnod. Dadleuai ef, hefyd, nad yw y cyngreddfiad moesol ac ysprydol yn gyfartal â'u gilydd yn mhawb o blant dynion. Mewn rhai personau, credai fod yr ymdeimlad o *fawrhydi* ac *ardderchogrwydd* Duw yn gryfach na'r ymdeimlad o'i *gyfiawnder* a'i *sancteiddrwydd*—yn fwy defosiynol ac addolgar, nag o foesol ac uniawn. Dywed fod ereill yn wrthgyferbyniol—yn fwy pur eu moes nag o addolgar. Ac yn sicr y mae sylw manwl o fywydau ein cydnabyddion yn tueddu y meddwl, i ryw raddau, i dderbyn y syniad. Fe amlygir y gwahaniaethau hyn yn eu bywydau. Mae rhai fel pe yn sylweddoli y Mawrhydi dwyfol nes bod yn hynod addolgar a defosiynol, eithr ni ddangosant ond ychydig o uniondeb mewn bywyd cyffredin. Nid ydynt o lawer yn fanwl onest a didwyll. Mae ereill heb

ynddynt nemawr o ddefosiwn—rhy fach o lawer,—ac anghofiant fyned ar eu gliniau, a chau eu llygaid ar y gweledig, er mwyn gweled yr Anweledig yn fwy clir, a dod i gyffyrddiad agosach â Duw. Eithr deil eu bywyd moesol a'u hymarweddiad crefyddol eu chwilio yn dda. Os na ymddangosant yn byw llawer yn ngwyneb Duw, maent yn ffyddlon iddo yn ei gefn. Eithr y sawl sydd yn datblygu y ddwy elfen hyn yn eu bywyd ydynt y cymeriadau crefyddol cryfaf a phrydferthaf. Dyma y rhai hefyd y mae yr ymdeimlad o bechod yn mhob ffurf a gradd yn llenwi eu hymwybyddiaeth. Yr ymdeimlad o bechod, gan hyny, ydyw mesur ein hymdeimlad o Dduw cyfiawn a sanctaidd. Ni all y naill fodoli heb y llall. Y sawl sydd yn sylweddoli presenoldeb y Duw da a chyfiawn, sydd hefyd yn sylweddoli pechod. Ffynonell ymdeimlad Joseph o bechod yn erbyn Duw oedd ei ymdeimlad o Dduw yn erbyn pechod. Yr oedd ei natur foesol ac ysprydol yn llawn o'r ymdeimlad o Dduw, ac felly o bechod yn erbyn Duw. Gall unrhyw un fesur dyfnder ei gymeriad crefyddol yn ol dyfnder ac angerddolrwydd yr ymdeimlad hwn o bechod.

Mater tra theilwng o sylw eglwys Crist yn yr oes hon ydyw, pa le y safwn yn ngwyneb y safon mewnol hwn? Faint o Joseph sydd ynom yn mhresenoldeb gwahanol ddrygau bywyd a ymrithiant ger ein bron? Argyhoeddiad poenus llawer o oreuwyr yr eglwys Gristionogol trwy yr holl fyd, heb eithrio Cymru o gwbl, ydyw, fod yr ymdeimlad o ddrwg pechod, fel y mae yn gwrthdaraw ewyllys a deddf Duw, yn gwanhau hyd nod yn nghylchoedd cysegredig yr eglwys ei hun.

Nodwn rai pethau sydd yn arwyddo hyny.

1. Y gogwydd sydd mewn llawer yn yr eglwys i *golli dyddordeb yn yr athrawiaethau mawrion sydd yn delio â phechod.*

Mae nifer mawr o Gristionogion yn anwybyddu athrawiaeth yr Iawn, ag sydd yn delio â phechod yn ei berthynas â llywodraeth Duw; ac athrawiaeth yr adenedigaeth, ag sydd yn delio â phechod yn nghalon dyn. Mae pwy bynag y mae "yr ymdeimlad o bechod" yn gryf ynddo, yn sicr o deimlo dyddordeb angerddol yn yr athrawiaethau hyn. Mae'n wir fod amrai o'r ysgoleigion Beiblaidd mwyaf duwiolfrydig yr oes uchel-feirniadol hon, mewn anhawsder i ddeall na deffinio yr Iawn i'w boddlonrwydd llawn eu hunain ac ereill. Eithr y mae yn amlwg fod eu sylweddoliad o ddrwg andwyol pechod, yn cadw i fyny eu dyddordeb byw yn yr athrawiaeth oll-bwysig hon. Ofnwyf fod gwanhad yr ymdeimlad o bechod yn erbyn Duw wrth wraidd lleihad y dyddordeb yn yr athrawiaethau hyn.

2. Mae lle i ofni fod gogwydd yn yr eglwys i *roddi mwy o le i addysg, gwybodaeth, a diwylliant, a llai o le i feithriniad rhinwedd a duwioldeb.*

Mae addysg a diwylliant yn odidog pan o dan lywodraeth gwir grefydd, eithr yn beryglus i'r eithaf heb galon lân. Llywodraethir pob dyn, nid gan ei wybodaeth, ethr gan ei gymeriad—nid gan ei ben, eithr gan ei galon. Nid oes neb yn byw yn well oherwydd diwylliant eu meddwl, eithr yn hytrach oherwydd diwylliant eu cydwybod a'u calon. Pen goleu a chalon dywyll sydd

gan y diafol, ac mae y dyn diwylliedig pechadurus yn fwy tebyg iddo ef na'r pechadur anwybodus ac anniwylliedig. Byddaf bron a meddwl, weithiau, fod gan y diafol haner cywilydd o anwybodaeth llawer o'i blant. Chwaeth ddaearol uchel, a chwaeth ysprydol isel, ydynt arfau ei filwriaeth ef. Dyma'r cyfrif am y ffaith alarus mai eiddo amlwg iddo ef ydyw dwy ran o dair, o leiaf, o fawrion y tir, ag sydd wedi eu trochi yn nyfroedd diwylliant y prif ysgolion. Dyweder a fyner o blaid addysg uchel,—ac yn ddiddadl y mae yn dra phwysig,—eithr y mae rhoddi iddo le mwy na chrefydd, y ffordd effeithiolaf i ddod a'r byd i ddinystr hollol. Llywodraethiad addysg, a diwylliant gan dduwioldeb calon, yn unig a sicrha gydbwysedd bywyd. Creadur ardderchocaf y ddaear ydyw ysgolaig duwiol, eithr ysgolaig annuwiol ydyw gŵr deheulaw y diafol. Yr wyf yn credu yn gryf mai gwanhad yr ymdeimlad o bechod sydd yn achos hyn oll.

3. Y duedd i roddi *pwys gormodol ar bynciau cenedlaethol a gwleidyddol, ar draul esgeuluso gwirioneddau ac ymarferion gwir grefyddol.*

Mae cenedlgarwch yn brydferth, ac mae dyddordeb mewn gwleidyddiaeth yn rhan o'n dyddordeb yn llwyddiant materol ein gwlad. Eithr y mae caniatau i'r cyfryw nychu ein brwdfrydedd crefyddol, yn arwydd sicr fod ein synwyr moesol yn pwlu, ac felly ein hymdeimlad o ddrwg pechod yn edwino. Onid yw rhai ohonom yn fwy brwdfrydig gyda'r "mabinogion," hanes y tylwythion têg, a'r chwedloniaeth Gymreig, na chyda Gair Duw?

A ydyw rhai ohonom yn peidio dod yn *fwy* o Gymry, ond yn *llai* o Gristionogion? Onid oes yn yr eglwys arweinwyr, deimlant annhraethol fwy o ddyddordeb mewn eisteddfod neu gyfarfod politicaidd, nag yn y cyfarfod gweddi a'r cyfarfod eglwysig? Onid oes yn ein mysg rai a welir yn lled fynych yn y gymdeithas lenyddol, ond byth yn y gyfeillach ysprydol? Ac onid y nosweithiau y bydd pynciau Ysgrythyrol gerbron yn y cymdeithasau hyn, y mae rhif y presenolion isaf? Ymddengys i mi yn anmhosibl cyfrif am hyn oll, ond fel y mae yn effaith amddifadiad o'r ymdeimlad o bechod, sydd yn elfen amlwg yn "sancteiddrwydd, heb yr hwn na chaiff neb weled yr Arglwydd."

4. Mae yr oes hon yn cael ei nodweddu gan *ymroad i bleserau ysgeifn bywyd, ar draul esgeuluso pethau mwyaf teyrnas Dduw.*

Pan y mae pleserau yn dod yn dwymyn ddeifiol, fel y mae yn yr oes hon, mae yn sicr o feithrin yr ysgafnder meddwl sydd yn nychol i ymdeimlad iachus o ddrwg pechod. Ac onid y ffaith ydyw, mai ychydig iawn o bobl ieuainc, a ymgyflwynant yn aiddgar i chwareuon a difyrion yr oes, sydd yn arddangos dyddordeb o gwbl yn llwyddiant teyrnas Dduw yn y byd? Holed ein pobl ieuainc eu hunain.

Gallesid nodi at hyn oll y *llacrwydd masnachol*, a'r ymollyngiad at y *tricks of trade*, a'r mesurau amheus a gymerir i sicrhau cyllid er cynaliaeth achos Duw, fel arwyddion pellach na sylweddolir yn fyw a dwfn ddrwg pechod, fel y mae'n gwrthdaraw ewyllys a deddf Duw.

Mae'n amlwg, gan hyny, fod y cyfryw ymdeimlad o bechod yn elfen hanfodol mewn cymeriad crefyddol cryf a phraff. Mae'n bwysig bod yn wastadol drylawn ohono, yn gyffelyb i Joseph, modd y byddom yn barod i gyfarfod y temtasiynau mwyaf sydyn. Mae yr ymdeimlad hwn yn rhan effeithiol o arfogaeth y Cristion.

Eithr yma, fe gŵyd y gofyniad—*Pa fodd* y *cynyrchir*, y *cynelir*, ac y *cynyddir* yr ymdeimlad hwn o bechod? Er sicrhau hyn y mae *dylanwad dwyfol* ac *amodau dynol* yn hanfodol.

Ni ddaw neb i deimlo drwg pechod yn ddwfn heb nerth yr Yspryd Glân i ddeffroi ei natur foesol i awdurdod, cyfiawnder, a sancteiddrwydd Duw. Mae hwn yn waith cyfriniol i reswm, eithr eglur i brofiad yr enaid. Mae'n rhyw ddylanwad rhyfedd ac uniongyrchol ar yr hyn a eilw Romanes yn "elfenau anadnabyddus personolaeth," neu "y myfi sydd yn cynwys ac yn cyfuno yr holl elfenau." Dyma gymerodd le ar ddydd y Pentecost—"hwy a lanwyd â'r Yspryd Glân." Ac wedi i'r Yspryd ddisgyn cynyrchwyd ymdeimlad ofnadwy o bechod mewn miloedd o bobl cyn terfyn yr ŵyl, a llefasant am eu bywyd.

Eithr beth ydynt *amodau dynol* sicrhad y cyfryw ddylanwad dwyfol? Ymgadw mewn myfyrdod a gweddi yn mhresenoldeb a llewyrch gwyneb Duw, dan belydron pa un y mae hyd nod llwch pechod yn wastadol yn y golwg. Pan y mae Duw yn y golwg i'r yspryd, mae pechod yn y golwg; a gweled Duw yn weled pechod. Os ymgedwir yn llewyrch gwyneb Duw mewn myfyrdod a gweddi, ni lecha unrhyw bechod

mewn cornelau tywyll ac anweledig. Datganodd Mr. Spurgeon unwaith, "na threuliodd un chwarter awr effro heb feddu ymwybyddiaeth clir o bresenoldeb yr Arglwydd." A phwy a ddarllenodd hanes bywyd y gwron, faidd ei gyhuddo o bechod, o ddydd ei enedigaeth newydd hyd ei farwolaeth? Mae'n amheus a ellir cael hanes yr un sant nad oedd yn ddeiliad ymdeimlad *delicate* neillduol parthed pechod. Ac wrth fod mor fyw i ddrwg pechod, mae goreuon yr eglwys yn mhob oes wedi ymgadw mewn undeb â'r adnoddau a'u galluoga i beidio pechu; a'r gallu i beidio pechu oedd ffynonell fawr eu dedwyddwch, eu hyni, a'u gwroldeb ysprydol. Dyma'r cyfrif am y gorhoender lanwai eneidiau St. Bernard, St. Francis, Thomas à Kempis, Samuel Rutherford, a Robert McCheyne; y ffyddlondeb gwrolfrydig a nodweddai Havelock, Kingsley, Robertson, a Gordon; a'r defosiwn dwfn a phur a nodweddai David Branard, Henry Martyn, a Coleridge Patterson. A pha beth amlycach yn mywyd y diweddar anfarwol Hugh Price Hughes, na bod ymdeimlad angerddol o bechod yn un o *forces* mwyaf ei fywyd? Oni welai bechod gyda'i lygaid ysprydol eryraidd lle bynag ac yn mhwy bynag y byddai? Ac oni ruthrai arno, fel un yn ei gasâu â'i holl galon? Gweddïwn am yr Yspryd i'n gwneud yn fyw i bechod.



# GOGONEDDU DUW YN OGONIANT PENAF DYN.

"*Canys i'm gogoniant y creais ef, y lluniais ef, ac y gwneuthum ef.*"—ISAIAH xliii. 7.

GOGONIANT penaf pob creadur ydyw ei wasanaethgarwch i fodolaeth uwch ac ardderchocach nag ef ei hun. Creadur mwyaf y ddaear ydyw dyn—y bôd cyfansawdd o gorff ac yspryd; a gogoniant pob creadur arall ydyw ei wasanaethgarwch i ddyn. Tỳner dyn ymaith oddiar y ddaear, a bydd holl anifeiliaid y maes, a holl ffrwythau y ddaear, yn ddiystyr a diamcan. Nis gellir dyweyd i beth maent yn dda. Gwir mai gwasanaethu corff dyn y mae elfenau natur gan mwyaf, eithr y mae ei gorff ef yn ogoneddus yn ei berthynas â'i yspryd anfarwol. Nid yw ei gorff mor gryf a'r eiddo y llew, nac mor gyflym a'r wningen. Nis gall oddef hîn mor galed, na myned trwy lafurwaith mor fawr, a llawer o'r anifeiliaid sydd o'i gwmpas. Ei ogoniant corfforol ef ydyw bod yn gartref i'r yspryd mawr sydd yn sylwedd arbenig ei fodolaeth; ac mae cyrff yr anifeiliaid yn gryfach na'r eiddo ef, er mwyn iddynt arbed ei gorff ef rhag llafur gormodol. Ond gellir datgan fod yn y greadigaeth faterol lawer o nodweddion nas gellir deall amcan eu bodolaeth, ond yn eu perthynas uniongyrchol â'r meddwl mawr sydd mewn dyn. Dyma raid ddatgan am brydferthion natur mewn lliwiau a ffurfiau. Nis

gellir eu deall ond yn ngoleuni chwaeth oruchel dyn at y prydferth. Boddloni a datblygu y cyfryw chwaeth ydyw amcan prydferthion natur. Cyffelyb ydyw amcan cerddoriaeth. Oni bai am feddwl dyn, ni buasai ystyr i seiniau, a chynangeddion amrywiol cerddoriaeth. Peth diystyr hollol fuasai i Madame Patti ganu i gynulleidfa o anifeiliaid direswm. Uwchafiaeth ac arddunedd natur foesol ac ysprydol dyn sydd yn rhoddi cyfrif boddhaol am ardderchogrwydd cerddoriaeth aruchel. Buasai seiniau cyfareddol yr eos yn ddiystyr, pe na bai ond eosiaid yn y byd; eithr y mae mawredd bodolaeth feddyliol dyn, ac arucheledd ei chwaeth, yn cyfrif yn foddhaol am fodolaeth llais yr eos. Ac yn wir, meddwl dyn yn unig sydd yn alluog i ddarganfod, trefnu, a chymwyso peroriaeth natur i amcanion teilwng o'i fawredd meddyliol ef ei hun. Gwelir, gan hyny, mai dirywiad bodolaeth dyn ydyw dwyn ei feddwl i ddim ond gwasanaethu ei gorff a'i bleserau anianol. Ac edrych ar y mater o safle rheswm, a chau allan ddysgeidiaeth yr Ysgrythyrau, mae i ddynion wastraffu eu meddyliau mawr i wasanaethu y materol a'r anianol, yn ddirywiad bodolaeth uchel. Mae ymollyngiad i chwantau a blysiau cnawdol, yn "ryfela yn erbyn yr enaid." A chymaint o feddyliau cryfion, ac o athrylith uchel, sydd yn dechreu ac yn diweddu eu llafur yn y byd, ar y materol gwywedig a darfodedig. Dyma hanfod pechod yn mhob agwedd arno. Pan mae y dyn uwchraddol yn gwario ei adnoddau ar yr israddol, mae'n pechu yn erbyn ei natur ei hun. Nid yw y greadigaeth allanol yn ateb ei diben uchaf, ond pan y mae'n cael ei defnyddio

er dyrchafu natur uchaf dyn. Efe yn unig ydyw yr esponiad llawn ar elfenau natur sydd yn ei gwmpasu yn y byd. Ac i'r dynion sydd â'u nôd ar ddyrchafu cymdeithas yn mhob modd sylweddol, y mae'r greadigaeth faterol yn datguddio ei hun er mantais uchaf dynoliaeth.

Dyma, debygwyf, ydyw gogoniant natur. *Ond beth ydyw gogoniant dyn?* Ai efe ydyw maen uchaf adeilad bodolaeth, ynte a ydyw ei ogoniant ef yn aros, fel creaduriaid ereill, yn ei wasanaethgarwch i fodolaeth uwch nag ef ei hun?

Diau pe cyflwynid y cwestiwn hwn i wyddonwyr anffyddol yr oes hon, y ceid atebion amrywiol a chwithig i'r eithaf. Ac ofer a difudd fyddai eu dilyn, gan nad mor anfoddhaol ydynt yn marn eu gilydd, chwaethach y rhai sydd yn credu yn nilysrwydd dysgeidiaeth yr Ysgrythyrau.

Cyflwynir yr unig atebiad boddhaol yn ngeiriau y testyn. "Canys i'm gogoniant y creais ef, y lluniais ef, ac y gwnaethum (neu y perffeithiais) ef."

Mater y testyn gan hyny ydyw,

MAI GOGONIANT PENAF DYN YDYW EI WASANAETHGARWCH I OGONIANT DUW.

Tra mae'n amlwg fod yna lawer cylch o wasanaeth gan ddyn yn ei berthynas â'r greadigaeth israddol iddo, ag sydd yn arddangos gogoniant ei natur feddyliol, nid yw ei ogoniant penaf yn dod i'r golwg ond yn ei berthynas â "gogoniant" Duw.

Mae y term "gogoniant" fel ei cymwysir at Dduw yn y testyn, yn hynod anhawdd ei ddeffinio. Dichon y

golyga gyd-ddisglaeriad holl briodoleddau naturiol a moesol ei Berson anfeidrol fawr, a'i gymeriad anfeidrol dda. Ymdoddiad yr oll i un olygfa fawr, a'r oll ellir ddywedyd yn yr olwg arni ydyw—"*gogoniant.*"

Nid hawdd, chwaith, ydyw mynegi beth a olygir yn llawn wrth *ogoneddu* Duw. Pa fodd bynag, rhaid y golyga "gredu ei fod Ef, a'i fod yn wobrwywr i'r sawl sydd yn ei geisio." Golyga, hefyd, ddal ei ddelw fel person byw, mwynhau ei ddelw fel bôd hunan-ymwybyddol, a datguddio yr oll fel bôd gweithgar a sanctaidd. Nis gallwn ogoneddu Duw trwy roddi dim ato, ond yn unig trwy ei lewyrchu gerbron dynion mewn cymeriad glân a sanctaidd. Byw gerbron dynion yn y fath fodd nes iddynt feddwl mwy am Dduw da wrth sylwi arnom, nag amdanom ni—ymarweddu nes y byddo y byd yn "gogoneddu Duw yn nydd yr ymweliad," wrth edrych ar y gweithredoedd da a nodweddant ein bywyd.

Fel hyn y gogoneddir Duw mewn dyn, a thrwy ddyn. A dyma amcan uchaf ei fodolaeth. I hyn yn benaf y mae Duw wedi ei greu yn fôd galluog i dderbyn a llewyrchu ei ddelw. A hyn oll ddylai fod yn amcan penaf dyn wrth fyw. Yr hyn oedd amcan Duw yn rhoddi bywyd meddyliol ardderchog i ddyn, a ddylai fod yn amcan dyn wrth ddefnyddio ei fywyd. Gofyniadau mawr dyn ddylent fod, Paham yr wyf yn bodoli? I ba beth yr wyf yn bodoli? Mae dyn wrth esgeuluso y cyfryw ofynion, yn esgeuluso ei hunan yn ei gysylltiadau uchaf. Gofyniad rhesymol ydyw, Pa bethau sydd yn bod er mwyn dyn? Ond y mae gofyniad arall yn saethu yn uwch fyth, Er

mwyn pwy y mae dyn yn bod? Ceir yr unig atebiad llawn yn y testyn.

Mae bodolaeth oruchel dyn yn *ddirgelwch* a *gwastraff* hollol ar wahân i fodolaeth Duw, a'r cydser o athrawiaethau mawrion a'i hamgylcha. Gwir fod mewn gwyddoniaeth, athroniaeth, llenyddiaeth, y celfau cain, a masnach, lawer o gyfleusterau i ddangos mawredd meddyliol dyn; ond terfyna yr oll mewn cynaliaeth a chysuron corfforol, a gorphena y meddwl ei wasanaeth yn y gladdfa. Eithr tybed mai deall deddfau mater, sydd mor gyfnewidiol a darfodedig, ydyw amcan uchaf y meddwl ardderchog sydd mewn dyn? Onid yw meddwl yn bwysicach na mater? Os felly, pa fodd y gall mater roddi cyfrif digonol am feddwl? Os nad oes Duw anfeidrol, i ddyn ddefnyddio ei alluoedd meddyliol ac ysprydol arno, mae bodolaeth fyr-barhaol dyn yn fwy o ddirgelwch na'r syniad o fodolaeth Duw. Mae ei fodolaeth yn *wastraff* hefyd, os nad oes Duw fel gwrthddrych tragwyddol ogoneddus i weithredu arno. Mae mater ac amser yn rhy fach i roddi cyfrif digonol am alluoedd enaid. Gwastraff fuasai bodolaeth y fath greadur ardderchog i fyw yn unig o fewn cylchoedd cyfyng mater ac amser, ac yna derfynu yr oll yn llwch y ddaear. Gwastraff gwallgof fuasai i'r un boneddwr adeiladu palas a gostiai filoedd o bunau, ac yna ei chwalu yn mhen yr wythnos wedi ei orphen. Ond byddai i ddyn gael ei fôd, ac yna derfynu yr oll yn mhen ychydig flynyddoedd, a disgyn i'r fynwent i ddiweddu pob peth, yn wastraff mwy gwallgof byth. Faint o feddyliau disglaer sydd wedi myned o'r golwg yma am

byth, yn fuan wedi gorphen gorchfygu prif anhawsderau eu diwylliant? Eithr i hyn y mae'n dod, oddieithr fod dyn yn bodoli yn benaf i ogoneddu Duw. Os mai gogoneddu Duw ydyw prif amcan ei fodolaeth, a'i ogoniant penaf, mae ei fodolaeth yn ddealladwy, ac nid yw ei greadigaeth yn wastraff. Yr oedd yn anrhydedd i ddyn gael bodoli i dderbyn delw, a llewyrchu cymeriad Duw. Nodwn yn

I.—Mai amcan uchaf, a gogoniant penaf deall-twriaeth dyn, ydyw adnabod Duw.

Mae dyn yn meddwl at i lawr wrth fyfyrio pob gwrthddrych daearol. Mae pob mater ddaw o dan ei sylw a'i efrydiaeth yn llai nag ef ei hun o ran pwysigrwydd bodolaeth. Nid wyf yn haeru nad yw efrydiaeth ar gwestiynau daearol a gwrthddrychau materol, yn fanteisiol i roddi ceinder i natur ddynol erwin a dirywedig; eithr nid yw y dyn ei hun yn ymddyrchafu wrth efrydu yr israddol iddo ei hun yn unig. Eithr wrth feddwl am Dduw, a'r gwirioneddau dwyfol a berthyn iddo, mae dyn yn meddwl at i fyny—yn meddwl am un anfeidrol fwy nag ef ei hunan. Ac wrth feddwl felly, mae'r efrydydd yn cael ei ogoneddu gan ei fater dwyfol.

Wrth fyfyrio ar Dduw, mae y meddwl yn cael ymwneud â *meddwl*. Nid yw meddwl dyn yn gweithredu yn ei gylch, ac yn ol ei naws arbenig ei hun, nes daw y byd meddyliol yn brif wrthddrych ei efrydiaeth. Dyma sydd yn gwneud "athroniaeth y meddwl" yn ei gwahanol gangenau mor deilwng o fyfyrdod dyn. Oes yn myfyrio mater ydyw hon, ac oes yr ymdrechir gwneud

pob peth yn fater. Ceisir gwneud cydwydod dyn fel cyflwr arbenig y mater sydd yn cyfansoddi ei fodolaeth. Ond y fath ddarostyngiad ar feddwl dyn ydyw byw i efrydu mater, ac i geisio meddwl ei feddwl ei hun fel mater yn unig. Eithr y mae meddwl am Dduw yn cyfodi y myfyrdod i diriogaeth feddyliol bur. Ac yn chwanegol at hyn, mae yn ei ddyrchafu i berthynas â meddwl anfeidrol fwy nag ef ei hun. Ac yma y mae dyn yn cael ei *ogoneddu*. Y safle uchaf y gall meddwl ei gyraedd ydyw *myfyrdod ar*, a *chymdeithas â* meddwl anfeidrol y Tad yr hwn sydd yn y nefoedd.

Ac mae yn meddwl dyn rhyw allu a dyhead na foddlonir byth, ond gan wrthddrych myfyrdod anfeidrol ddihysbydd. Mae y meddwl, ar un llaw, yn llawn awyddfryd am *wybod chwaneg*, ac felly y bydd byth. Byddai myfyrio heb allu cynyddu mewn amgyffrediad a gwybodaeth, yn ffynonell trueni i'r meddwl dynol myfyrgar. Ond er diogelu hyn, rhaid cael gwrthddrych ac ynddo *chwaneg i'w wybod* am holl gyfnodau bodolaeth meddwl dyn. Hawlia y meddwl wybod chwaneg, a chwaneg i'w wybod am ei oes dragwyddol. Eithr nis gellir meddwl am y posiblrwydd o hyn oll ar wahân i adnoddau dihyspydd y Duwdod ei hun. Mae modd i ni feddwl am derfyn ar bob mater arall o efrydiaeth. Pe caem ein gosod i gyfrif holl dywod moroedd y byd, a chyfrif dim ond un tywodyn bob mil o flynyddoedd, gallwn feddwl am y posiblrwydd o orphen ein gwaith. Ond beth a wnai y meddwl wedi hyny? Pe gosodid ni i gyfrif dyferion dwfr pob môr, afon, a ffynon, ar y ddaear, gallwn feddwl am y *task* yn terfynu, ond beth wnai y meddwl

wedi hyny? Tybier mai dyma yr oll o gylch ein myfyrdod, fe fyddai ein hysfa efrydol yn gryfach yn y diwedd nag yn y dechreu. Dyna ddeddf y meddwl. Y personau sydd wedi myfyrio mwyaf, sydd lawnaf o egni myfyrgar. Beth, gan hyny, wnai y meddwl wedi gorphen hyspyddu holl faesydd ei efrydiaeth, ond syrthio i drueni annesgrifiol? Byddai ynddo chwaneg o awch nag erioed am wybodaeth, eithr yr holl wrthddrychol a fodolai, wedi dod yn ddeiliadyddol iddo ef. Ac yn awr, er symud ymaith y posiblrwydd o'r trueni hwn, rhaid cael gwrthddrych fydd yn rhoddi allan i'r efrydydd yn wastadol, ond ar yr un pryd yn cynwys digon o adnoddau i gadw i fyny, a digoni dyhead dyn am wybodaeth chwanegol am dragwyddoldeb. Yn Nuw yn unig y ceir hyn. Mae Efe yn rhoddi rhyw ddatguddiad newydd yn wastadol i'r efrydydd defosiynol a gweddïgar —yr efrydydd all weddïo yn ei efrydfa. "Datguddia fy llygaid, fel y gwelwyf pethau rhyfedd allan o'th gyfraith Di." A bydd ganddo ddatguddiad newydd o'r adnoddau anfeidrol sydd ynddo am dragwyddoldeb. Mae pob archangel yn gweled rhyw ogoniant dwyfol na welodd erioed o'r blaen, bob moment. Er y bydd yn Nuw ddirgelwch na ddaw i'r golwg byth i'w greaduriaid rhesymol mwyaf, fe ddaw rhyw feddyliau i'r amlwg o hyd i'w blant. Ac er nas gall dyn byth amgyffred Duw yn llawn, gall trwy ei ffydd a'i gyngreddfau ysprydol, ymaflyd yn, a chymdeithasu â Duw yn oes oesoedd, a thrwy hyny ei adnabod Ef yn fwy o hyd. Mae yn hawddach adnabod Duw trwy gymdeithasiad gweddïgar, na'i wybod trwy fyfyrdod. Ac amcan uchaf y meddwl dynol ydyw adnabod

Duw. Dyma ei ogoniant penaf. Mae cael Duw ei hun yn wrthddrych myfyrdod a chymdeithasiad meddyliol yn gyfrif digonol am fodolaeth meddwl mawr dyn. Yn yr ystyr hon, yn ddiau, dywed yr Arglwydd, "I'm gogoniant y creais, y lluniais, ac y gwnaethum ef." Ac nid oes dim pwysicach i ddyn na sylweddoli yn ddwfn amcan mawr Duw wrth ei ddwyn i fodolaeth.

II.—Mai amcan eithaf, a gogoniant penaf cydwybod dyn, ydyw sylweddoli a dadlenu cymeriad cyfiawn a sanctaidd Duw.

Er cyraedd ein hamcan yn y cysylltiad hwn, nid yw yn angenrheidiol i ni gyffwrdd y mater dadleuol o elfenu cydwybod i fanylwch, a cheisio dod o hyd i'r gwahaniaeth rhwng cydwybod a'r synwyr moesol, &c. Digon yw deall ei bod mewn perthynasau crefyddol yn cymeryd i mewn y syniad cyngreddfol o fodolaeth y gwahaniaeth rhwng da a drwg—y nerth awdurdodol i orchymyn cyflawni y da ac ymwrthod â'r drwg. Gorchymyna yn ymerodrol, "gwna dda," ac "na wna ddrwg." Cymer i mewn, hefyd, gymeradwyaeth lawn yn yr ymwybyddiaeth am y da a gyflawnwyd, ac anghymeradwyaeth, neu euogrwydd, yn yr ymwybyddiaeth am y drwg a gyflawnwyd. Mae ei hawdurdod ar y llinellau hyn yn hollol a disymud. Ni ellir ei llwgrwobrwyo, er y gellir, trwy anystyriaeth pechadurus, ddistewi ei llais am dro. Nis gellir byth ei hymresymu o'i safle uchel. Oni bai am ei hawdurdod hi gallesid ymresymu llawer o ddrwg yn dda, a da yn ddrwg. Dyna ddyn tlawd, angenus, yn tori i mewn rhyw noson i balas

y boneddwr, ac yn helpu ei hun â swm mawr o'i drysorau gwerthfawr. Ond beth sydd o'i le yn hyny? Mae gan y boneddwr ddigonedd eto o bob trysorau angenrheidiol i'w safle a'i gysur, ac nid yw y dyn tlawd ond yn unig wedi lleddfu rhyw gymaint ar ei drueni, a pheri dynesâd bychan at y cyfartalrwydd mwy a ddylai nodweddu cymdeithas. Onid oedd gan y naill ormod, a'r llall rhy ychydig o dda y byd hwn o'r blaen? A pha fodd y gellir condemnio mesur o'r fath er gwastadhau bywyd cymdeithasol? Ie, ymresymer a fyner yn y cyfeiriad yma, mae cydwybod yn *ringio* ei chondemniad yn erbyn y tlawd a wellâ ei amgylchiadau bydol trwy *ladrad*. Llais ymerawdwr ydyw yr eiddo hi ar gwestiwn o'r fath.

Rhyw ddiwrnod, mae boneddiges Seisnig yn cerdded llwybr gerllaw un o ymdrochleoedd Cymru. Yn ei dilyn, o fewn cant neu ddau o latheni, mae geneth amddifad Gymreig, dlawd, tua phymtheng mlwydd oed. Wrth gerdded yn mlaen, gwelai yr eneth rywbeth yn disgleirio yn brydferth ar ochr y llwybr. Mae yn ei godi, ac yn gweled mai *brooch* ardderchog ydoedd, a rhyw lygaid disglaer yn pefrio ohoni i'w llygaid hi. Meddyliodd ar unwaith mai y foneddiges oedd yn cerdded o'i blaen oedd perchenog y *brooch*, ac mae ei meddwl yn dechreu dod dan ddylanwad galluoedd gwrthdarawol iawn. Dywed un llais wrthi—"cadw hi, nid oes genyt ti ond *brooch* dimai yn y *shawl* fach sydd am dy wddf; da i ti gael rhywbeth o ryw werth ar dy berson, mae gan y foneddiges acw ddigon o addurniadau o'r fath eto, cadw hi yn dawel." Ond mae llais arall cryf, ac awdurdodol yn ymgodi o'i hyspryd hi ei hunan, yn cael ei ddeffroi

yn ofnadwy gan adgofion am ei mam dduwiol, ac addysg gyson yr Ysgol Sul a'r gyfeillach grefyddol. Adgofia gynghorion ei mam ar ei gwely marw parthed dyweyd y gwir a byw yn onest bob amser, ac yn mhob man, a chyda phawb. Mae llais cydwybod yn codi yn uchel a grymus aruthrol gan ddyspedain ei chenadwri iddi, gan ddyweyd, "na anghofia gynghorion dy fam—a chofia mai nid ti, eithr y foneddiges acw biau y *brooch*; na feddylia gadw i ti dy hun yr hyn sydd eiddo arall, rhêd nerth dy draed ar ol y foneddiges, a dyro y *brooch* iddi." Y llais awdurdodol hwn a orfu, a dyna'r eneth yn cyflymu ar ol y foneddiges, ac wedi ei goddiweddyd, gofynodd iddi, a'i eiddo hi oedd y *brooch*. Cafodd atebiad cadarnhaol, ac ychwanegiad o ddiolch cynes, a chydnabyddiaeth am ei charedigrwydd a'i gonestrwydd. Ac fel hyn aeth yr eneth yn amddifad o'r addurn drachefn, eithr gwobrwywyd hi fil-fil o raddau gan gymeradwyaeth y gallu ymerodrol oedd yn ei mynwes. A dychmygai fod ei mam yn edrych arni o'r nefoedd, ac wedi galw yr holl angylion a'r saint i sylwi ar ei hymddygiad. Llanwyd hi mewn canlyniad â dedwyddwch a nerth, a effeithiodd ar ei holl fywyd dilynol.

Ond y cwestiwn bellach ydyw, Pa fodd y mae esponio y llais hwn? Pa le mae ffynonell darddiol ei awdurdod? Onid rhaid edrych arno fel adlais rhyw awdurdod uwch na dyn, sydd yn llywodraethu ar bob peth? Ymddengys i ni fod cydwybod y *force* mwyaf anhawdd ei ddeall o bob peth, ar wahân i'r syniad ei bod yn fath o *recorder* i'r Barnwr dwyfol, sydd wedi ei osod ganddo yn natur foesol dyn. Ac mae hyn oll wedi ei

osod ynddo er ei gadw mewn perthynas gref a byw âg awdurdod yr orsedd dragwyddol, a'r oll yn bodoli am mai gogoniant uchaf dyn ydyw byw i Dduw—bod yn iawn yn ei berthynas âg Ef. A phan ddaw dyn i ymddwyn yn iawn yn ei berthynas â Duw, mae'n sicr o ddod yn iawn yn ei berthynas â dynion. Pan mae y gydwybod yn effro at Dduw, mae'n sicr o fod yn effro tuag at ddynion.

III.—Mai amcan eithaf, a gogoniant penaf serch dyn, ydyw caru Duw yn holl brydferthwch ei natur.

Nid oes yn neb ddigon o brydferthwch a gogoniant i dynu allan, a boddloni holl serch calon dyn, ond Duw ei hun. Pan yn ceisio boddloni eu serch, heb gydnabod Duw, bu raid i John Stuart Mill a Compte ddwyfoli eu gwragedd. Darfu iddynt gysylltu eu dychmygiad o'r dwyfol a'r dynol er cyfarfod â gofynion dyfnion eu calonau eu hunain. Mae eu serch yn eu dirgymell i ddwyfoli ac addoli y dynol, i roddi mwy o *scope* i'w serchiadau eu hunain.

Ni foddlonir y serch dynol yn llawn heb nodweddion yn ei wrthddrych nas gellir eu cael mewn perffeithrwydd yn neb ond yn y Duw mawr ei hun.

1. *Perffeithrwydd cymeriad moesol.*

Mae yn bosibl caru gwrthddrych personol amddifad o gymeriad prydferth. Gwneir hyn gan filoedd o rieni serchog. Fe lyna eu calon yn ddiymollwng wrth eu plant afradlon. Ond mae dylanwad hyny yn andwyol

i'w teimladau tyneraf. Sianel ydyw eu serch i bechod ac afradlonedd y plant i fod yn ofid a thrueni calon y rhieni. Yr un modd y gellir dyweyd fod serch ambell i fab, neu ferch rinweddol, yn sianel i feddwdod ac afradlonedd ambell i dad a mam redeg yn afon o drallod i'w calonau ieuainc. Mewn achos o'r fath buasai llai o serch yn golygu llai o drallod. Eithr mae calonau plant Duw yn gallu gloddesta yn hyfryd ar berffeithrwydd cymeriad eu Tad nefol. Mae y syniad ei fod yn aros mewn pellter anfesurol oddiwrth bob anmherffeithrwydd moesol—ei fod yn lanach ei olygon i allu edrych ar ddrwg—ei fod yn trigo mewn goleuni o sancteiddrwydd pur, "a'i enw yn sanctaidd," yn peri tonau o foddlonrwydd annesgrifiol dori dros galon pob un o'i blant. Ymlonydda y serch dan ddylanwad ei gymeriad gogoneddus. Efe, fel cymeriad anfeidrol dda, ydyw yr unig ddatguddiad *o*, ac esponiad *ar*, fawredd calon dyn.

2. *Perffeithrwydd dedwyddwch.*

Mae trueni ac annedwyddwch gwrthddrych serch, yn cyfranu ei hun mewn rhyw ffurf i berchenog y serch. Mae dioddefiadau a gofidiau ein hanwyliaid yn cael eu cludo drosodd gan y serch ei hun i'n calon. Pe bai y serch neillduol feddwn at *rai* yn ein meddiant at bawb, mae'n amheus allai neb ohonom ddal heb dori ei galon, ond am amser byr iawn. Dan rai amgylchiadau buasai absenoldeb serch yn cynwys absenoldeb gofid anaele. Eithr mae plant Duw yn osgoi yr holl ofid hwn yn eu perthynas âg Ef. Mae Ef yn annibynol ddedwydd.

Mae yn "preswylio tragwyddoldeb a'r goruchelder," allan o gyraedd pob tymestl a saeth. Erys mewn tawelwch hapus yn uchder ei safle anagosadwy. Pan anfona ei blant eu gweddïau i fyny ato, wedi gadael awyrgylch aflonydd ac afiach y byd hwn, cânt lonydd i ymesgyn i'r preswylfod goruchel a ddiogelwyd iddynt â gwaed Iesu Grist ei Fab Ef. Ac O! mor hapus yr ymdeimlad fod gwrthddrych mawr ein serch yn berffaith ddedwydd.

3. *Perffeithrwydd agosrwydd.*

Awyddfryd naturiol a chyngreddfol serch ydyw byw mewn agosrwydd gwastadol at ei wrthddrychau. Ond amddifadir ni yn fynych o hyn oll yn ein perthynas â gwrthddrychau anwylaf y ddaear. Mae amgylchiadau tymhorol yn cymeryd ein hanwyliaid i bellafoedd y ddaear, ac angau yn eu cymeryd o'r un byd a ni heb obaith eu cael yn ol mwy. Y fath aeth hir a dirdynol ddyry hyn oll i'r galon dyner. Cymaint mae y galon yn ei ddioddef oddiwrth bellter ei gwrthddrychau. Eithr mae Tad y saint yn agos o hyd at ei blant, ac yn agosach na phawb a phobpeth at galon pob un o'r ffyddloniaid. Mae yn gallu dod yn nes at yr enaid gweddigar nag yw ei gorff ei hun. Mae y corff yn ymwisgo *am* yr enaid, ond mae Duw yn preswylio *ynddo.* Mae Crist yn *trigo* ac wedi ei *ffurfio* yn serch y sawl sydd wedi ymddiried ynddo. Gall y cristion fyned a phrif wrthddrych ei serch gydag ef i bob man. Gall amgylchiadau beri iddo *hiraethu* am Dduw yn y cysegr, fel y darfu i erledigaethau ei elynion beri i gnawd a chalon Dafydd

hiraethu a gwaeddi am y Duw byw. Eithr ni raid iddo byth, ond oherwydd ei anghrediniaeth ei hun, deimlo pellter poenus rhyngddo â'i Dduw. Mae dyhead calon dyn am fyw yn nghwmni gwrthddrych ei serch yn cael ei foddloni yn llawn gan y Tad trugarog.

4. *Perffeithrwydd ad-daliad.*

Mae gweithrediad y serch ar wrthddrych nad yw yn talu yn ol yn ffynonell ing a gofid annesgrifiadwy. Cymaint o drallod dirdynol dderbynia rhieni serchog oddiwrth ddiystyrwch plant o'u serch dwfn a hunan-aberthol; a chymaint o hunanladdiadau sydd beunydd yn cymeryd lle oblegid absenoldeb ad-daliad serch yn mysg y rhywiau. Ond y fath baradwys a gynyrchir lle mae yr ad-daliad yn bur, llawn, a pherffaith. Mae'r ymroddiad a'r hunanaberth a nodweddai y serch angherddol oedd rhwng Mr. Spurgeon a'i briod, yn ffurfio rhai o'r golygfeydd mwyaf bendigedig o brydferth yn hanes y byd. Eithr nid oedd yr elfen ad-daliadol berffaith hon a'u nodweddai ond ffrwyth eu cyd-undeb goruchel â ffynon fawr pob cariad. Ynddo Ef mae y cariad ad-daliadol sydd yn boddloni y galon am byth. Ei gariad Ef a'n denodd ato i gychwyn, oblegid "Duw, cariad yw." Ac am bob diferyn o gariad a gaiff Ef genym ni, mae'n rhoddi cefnfor yn ol. Wrth i'n calon eangu a chryfhau mewn cariad ato Ef, nid yw ond gwneud lle mwy yn ein serch i'w gariad Ef ein gorlanw am dragwyddoldeb.

Gwelir gan hyny mai mawredd prydferthwch personol, moesol, ac ysprydol Duw, ydyw yr esponiad ar galon

dyn, ac mai Efe yn unig all ddwyn i weithrediad yr holl serch. Efe yn unig ellir ei garu â'r *holl* galon, yr *holl* enaid, a'r *holl* nerth. A dyma ogoniant calon dyn.

IV.—Amcan eithaf, a gogoniant penaf ewyllys dyn, ydyw bod mewn undeb ag ewyllys Duw.

Gwerth ymarferol yr ewyllys ydyw yr adnoddau defnyddiol sydd o dan ei llywodraeth. Pan nad oes gallu i weithredu, nid yw yr ysgogiad meddyliol ond *dymuniad;* mae ewyllysiad yn golygu gallu i weithredu yn ymarferol yn ol yr ysgogiad meddyliol. Gallwn ddymuno yr hyn sydd allan o'n cyraedd, ond mae ewyllysiad yn golygu ei fod yn gyraeddadwy. "Yr wyf yn gosod o'th flaen heddyw angau ac einioes—dewis dithau yr einioes." Eithr ar wahân i berthynas ein hewyllys âg ewyllys Duw, nid oes wrth ei llaw ond ychydig iawn o adnoddau. Fel y dywed y ddiareb Germanaidd, "y mae pob peth yn diffodd allan ond ewyllys Duw." Mae hollalluogrwydd, a hollwybodaeth, ac felly yr holl greadigaeth, wrth law yr ewyllys ddwyfol. Ac wrth osod ein hewyllys mewn undeb â'i ewyllys fawr Ef, y cyraeddwn amcanion uchaf ein bywyd. Pan mae dyn yn gosod ei ewyllys yn gwbl dan lywodraeth yr ewyllys ddwyfol, mae'r adnoddau sydd dan lywodraeth ewyllys Duw yn dod i gyraedd ewyllys dyn. Am fod ei ewyllys ef wedi myned trosodd at ewyllys Duw, mae ewyllys Duw yn dod trosodd at ewyllys dyn. Mae y ddwy ewyllys megis wedi dod yn un, a holl adnoddau Duw yn nghyraedd yr undeb hwnw. Yn ngrym y cyfryw undeb—fe gaiff rhai dynion yr hyn a fynont. Oblegid yn yr undeb hwn, yr

hyn a fŷn Duw a fynant hwy, ac o ganlyniad, yr hyn a fynant hwy a fŷn Duw. Onid dyma ddysgeidiaeth Crist yn y geiriau hyny—"Os aroswch ynof fi, ac aros o'm geiriau ynoch, beth bynag a *ewyllysioch*, gofynwch, ac efe *a fydd i chwi*." I'r sawl sydd wedi rhoddi ei ewyllys i Dduw, mae ewyllys Duw yn gynwysedig yn yr eiddo ef. Mae'n anmhosibl penderfynu y gallu sydd yn nghyraedd y bobl ydynt yn byw yn yr undeb ewyllys hwn â Duw. "Canys lle y mae dau neu dri wedi ymgynull yn fy enw i, yno yr ydwyf yn eu canol hwynt." Ac oblegid ei fod Ef yn eu canol hwynt, mae ei feddyliau a'i nerthoedd Ef yn dod yn eiddo iddynt hwy. A dyma yr esponiad ar y paham y bydd i'r hyn a rwymir, neu a ryddheir ganddynt hwy ar y ddaear, yn cael ei rwymo neu ei ryddhau yn y nefoedd. Pan y caiff ewyllys Duw feddiant llawn o ewyllys dyn a'i gwendid, caiff ewyllys dyn feddiant o ewyllys Duw, a'i holl nerth anfeidrol. Dyma ddirgelwch llwyddiant mawr duwiolion pob oes. Yn ngrym ei undeb â'r ewyllys ddwyfol cafodd Joseph ei esgyrn o wlad yr Aipht i wlad Canaan, yn mhen pedwar cant a deugain o flynyddoedd wedi ei osod yn llwch y wlad baganaidd hono. Rhoddodd Joseph ei *ewyllys* yn llaw ewyllys un fyddai fyw wedi iddo ef farw, ac un allasai, trwy ei ewyllys ei hun, ddod ag ewyllys Joseph i aflonyddu ar ei fedd ei hun. Mae miloedd o saint ar y ddaear heddyw wedi dod i'r cytundeb hwn â Duw. Maent wedi gosod eu *cyrff* yn aberthau iddo Ef, ac am ymddiried yr oll yn ei law, gyda phob sicrwydd y gofelir am eu cysglyd lwch, gan yr un sydd yn byw bob amser, ac yn anfeidrol ffyddlon i bob cytundeb. Mae Efe

heddyw yn sibrwd wrth fedd pob un roddodd ei ewyllys i fyny iddo yn llwyr. "Mi a'i hadgyfodaf ef yn y dydd diweddaf." Mae y bobl sydd yn gosod eu hewyllys yn llaw ewyllys Duw, cyn dechreu symud, wedi cyflawni mwy o orchestion na neb arall yn hanes y byd. Pan mae dynion yn tynu eu cynlluniau eu hunain, ac yna ddeisyf bendith Duw ar yr oll, nis gellir ond disgwyl methiant mynych, ond mae y rhai sydd yn troi at Dduw am gynllun, ac am nerth i'w weithio allan, fel rheol yn llwyddiant gogoneddus. Dyma'r unig esponiad ar lwyddiant Moses. Aethai ef at Dduw am *blan* pob peth, ac oblegid hyny caffai yr adnoddau dwyfol i ddwyn yr oll i ben buddugoliaethus. Yr esponiad boddhaol ar lwyddiant George Müller yn cyflawni cymaint o wasanaeth, ac yn sicrhau cymaint o drysorfeydd er dwyn ei waith cysegredig i ben, heb ond ymneillduo gerbron Duw mewn gweddi, ydoedd, mai dyma'r cynllun a dderbyniodd ef gan Dduw. Ni symudodd gam ond o dan yr arweiniad dwyfol, ac fel hyn y gwelodd Duw yn dda ei arwain. Nid yw yn canlyn y buasai y Tad trugarog yn arwain unrhyw un arall a gyflawnai yr amod; eithr efe a arwain bawb a roddant eu hewyllys drosodd iddo Ef, yn ol ei ddoethineb a'i gariad anfeidrol ei hun. Yr oedd gwahaniaeth mewn llawer o bethau yn y modd yr arweiniodd Duw Mr. Spurgeon, i'r modd yr arweiniodd George Müller; ond yr oedd cymaint o Dduw yn y naill ac yn y llall; a phob un o'r ddau wedi rhoddi eu hewyllys yn hollol dan reolaeth ewyllys Duw. Gwnaeth yr Arglwydd Hugh Price Hughes drachefn yn *fegiwr* arian heb ei fath. Dyna ei ewyllys yn ei berthynas âg ef.

Yn yr undeb hwn, gan hyny, y ceir golwg ar ogoniant ewyllys dyn. Wrthi ei hun nid oes o nerth ynddi ond mewn *gwrthod nerth.* Gall yr ewyllys wrthod cymorth meddyg, eithr nis gall wneuthur dim i'r claf yn lle meddyg. Gall ewyllys pechadur wrthod Gwaredwr, eithr nis gall sicrhau iddo iachawdwriaeth yn lle Gwaredwr mawr. Ond pan dderbynia ewyllys dyn nerth Crist y Gwaredwr, mae'n dod yn berchenog ei adnoddau, fel y bydd amgylchiadau yn galw.

Gwelir, bellach, mai gogoniant penaf dyn ydyw byw er gogoniant Duw. Mae golwg ardderchog ar ddyn pan mae y nerth dwyfol ac yntau mewn undeb agos. Ceir trem ardderchog arno yn yr ail adnod yma. "Pan elych trwy y dyfroedd, myfi a fyddaf gyda thi ; a thrwy yr afonydd fel na lifant drosot: pan rodiech trwy y tân, ni'th losgir, ac ni enyn y fflam arnat."



# MAWREDD PERSON A GWAITH CRIST YN FFYNONELL DIOGELWCH EI EGLWYS.

"*Yr hwn yw delw y Duw anweledig, cyntaf-anedig pob creadur: Canys trwyddo ef y crëwyd pob dim a'r sydd yn y nefoedd, ac sydd ar y ddaear, yn weledig ac yn anweledig, pa un bynag ai thronau, ai arglwyddiaethau, ai tywysogaethau, ai meddiannau; pob dim a grëwyd trwyddo ef, ac erddo ef. Ac y mae efe cyn pob peth, ac ynddo ef y mae pob peth yn cyd-sefyll. Ac efe yw pen corff yr eglwys: efe yr hwn yw y dechreuad, y cyntaf-anedig oddi wrth y meirw; fel y byddai efe yn blaenori yn mhob peth. Oblegid rhyngodd bodd i'r Tad drigo o bob cyflawnder ynddo ef; Ac (wedi iddo wneuthur heddwch trwy waed ei groes ef) trwyddo ef gymodi pob peth âg ef ei hun; trwyddo ef, meddaf, pa un bynag ai pethau ar y ddaear, ai pethau yn y nefoedd. A chwithau, y rhai oeddych ddïeithriaid, a gelynion mewn meddwl trwy weithredoedd drwg, yr awrhon hefyd a gymododd efe. Yn nghorff ei gnawd ef trwy farwolaeth, i'ch cyflwyno chwi yn sanctaidd, ac yn ddifeius, ac yn ddiargyhoedd, ger ei fron ef.*"

COL. i. 15—22.

MYNYCH y mae gan yr Apostol Paul, yn y ddysgeidiaeth, yr anogaethau, a'r rhybuddion, cynwysedig yn ei wahanol epistolau, olwg ar rhyw heresiau, cyfeiliornadau, a llygredigaethau, oeddent wedi ymwthio,

neu yn bygwth ymwthio, i'r gwahanol eglwysi, er eu gwenwyniad a'u dinystriad.

Peryglid bywyd ysprydol yr eglwys oedd yn Colossa gan gyfeiliornadau gwenwynig o gyfeiriad Iuddewig, ac oddiwrth athronwyr y dwyrain—neu oddiwrth Iuddewon a ebychent y cyfryw athronwyr, er ymosod ar hawliau y Gwaredwr mawr. Ac mae'n amlwg fod llygaid yr Apostol ar y naill neu y llall o'r cyfryw gyfeiliornadau yn mron bob adran o'r epistol hwn.

Mae geiriau y testyn yn cael eu bwriadu gan yr Apostol fel gwrthwenwyn i'r athrawon peryglus "osodent o'r neilltu fawredd arbenig Mab Duw fel Brenhin dwyfol —fel Iawn perffaith, yr hwn trwy waed ei groes a enillodd ein heddwch ni; fel Pen byw yr eglwys; fel Cludydd cyflawnder y Duwdod; fel Delw fyw y Duw anweledig, a hefyd fel Dechreuad pob bodolaeth grëedig, yn cynwys yr angylion" *(Maule)*. Mae'r adran hon oll yn delio gyda gwahanol agweddau y cyfeiliornadau hyn, er mantais arbenig i fywyd a llwyddiant yr eglwys. Mae dysgeidiaeth yr Apostol, yn yr adran hon, ar berthynas Crist a'r eglwys a'r greadigaeth, yn ffynonell diogelwch, nerth a chysur yr eglwys. A chyda'r amcan arbenig hwn o "nerthu ein gilydd â phob nerth yn ol ei gadernid gogoneddus Ef," sylwir ar y gwirioneddau a ganlyn a ddysgir yn y testyn.

### I.—Fod Crist, pen yr eglwys, yn Dduw.

"Yr hwn yw delw y Duw anweledig," &c.

Mae'r Person y mae Crist yn "ddelw" ohono yn Dduw, ac nis gellir meddwl am ddelw Duwdod ag sydd yn llai

na Duwdod. Mae'n anmhosibl tynu llun anfeidroldeb ar gylch meidrol. Mae'n bosibl cael eil-lun neu gerf-lun o ddyn yn fwy neu yn llai na'r dyn ei hun. Eithr mae delw feidrol o Dduw anfeidrol yn ddigon anmhosibl i fod yn wrthebiad. Ac mae ystyr ddyfnaf y gair yn gyson â'r cyfryw syniad. Golyga nid tebygolrwydd i Dduw, eithr *arddangosiad* a *chynrychioliad* perffaith o Dduw. Mae Crist, gan hyny, yn nirgelwch ei Berson, nid yn unig yn Fôd sydd yn ymdebygoli i Dduw, eithr *yn Dduw yn ymddangos.* Fel "delw," yr oedd yn rhaid iddo, gan hyny, fod yn weledig, oblegid mae syniad rhai o'r tadau nad oedd Crist ond delw anweledig y Duw anweledig yn dywyll a diystyr hollol. Mae bod yn weledig yn hanfodol i'r meddylddrych o ddelw. Ceir y meddylddrych hwn hyd nod yn y term "Gair" a ddefnyddir gan Ioan yr efengylwr. Cyfrwng amlygiad neu ddatguddiad meddwl y naill i'r llall ydyw gair. A dyna, yn ddiau, paham y cysylltir ef â Iesu Grist, amlygydd llawn y Duwdod i ddealltwriaethau meidrol. Eithr y "Gair a wnaethpwyd yn gnawd" sydd yn gwneud y syniad o ddelw weledig yn glir a llawn. Pan oedd dynion yn edrych ar Iesu yn gweithredu, yn gwrando arno yn llefaru, ac yn ei deimlo â'u dwylaw, yr oeddent mewn perthynas weledig a'r hwn oedd a "holl gyflawnder y Duwdod yn trigo ynddo yn sylweddol." Ynddo Ef yr oedd ffynonell achosyddol yr effeithiau dwyfol yn ymddangos bob dydd yn eu plith. Mae dwyfol ogoniant y Tad yn anweledig—"yn dywyll gan ormod disgleirdeb." "Ni welodd neb Dduw—(y Jehovah mawr) erioed"—"Ni'm gwêl dyn a byw." Ond mae y

gogoniant dwyfol hwn mewn ystyr yn *weledig*. "Y Gair a wnaethpwyd yn gnawd—ac ni a *welsom* ei ogoniant Ef." Fel y mae angel yn fôd rhesymol anweledig, a dyn yn fôd rhesymol gweledig, mae y Tad yn Dduw anweledig, a'r Mab yr un Duw gweledig. Mae yma, gan hyny, *unaeth* dirgeledig trwy yr hwn y gwelir y Tad yn y Mab fel *delw fyw*. "Y neb," meddai Crist, "a'm gwelodd i a welodd y Tad." "Myfi a'r Tad *un* ydym." Dan yr hen oruchwyliaeth ceir effeithiau dwyfol *gweledig* i weithrediadau Duw *anweledig*, eithr dan yr oruchwyliaeth newydd, ceir effeithiau dwyfol gweledig yn ffrydio o bersonolaeth un oedd yn rhodio yn weledig yn mysg dynion. Nid ei wyrthiau fel y cyfryw a amlygai ei Dduwdod, eithr y ffaith ei fod yn ffynonell ei allu gwyrthiol. Cyfryngau y gwyrthiau oedd Moses, y proffwydi, a'r apostolion ; cyflawnent y gweithredoedd mawrion yn enw ac yn nerth un arall, eithr cyflawnodd Crist yr oll yn ei enw, ei nerth a'i awdurdod ei hun. Ac yr oedd yn yr enw hwn, nid yn unig ddigon o allu iddo ei hun, eithr hefyd ddigonedd i'w gyfranu i ereill. Yn ei enw Ef y darfu i Petr wahodd y dyn cloff, wrth borth prydferth y deml, i "rodio, neidio, a moli Duw." Gwelir, felly, fod y "ddelw" weledig yn gallu cynyrchu yr un effeithiau a'r "Duw anweledig." Pan gerddai ar y dyfroedd, gwelai y disgyblion sylweddoliad o ogoniant yr hwn "sydd yn sathru ar dònau y môr." Pan y tawelid y tonau ymchwyddog ar ei air, teimlai y cyd-deithwyr eu bod yn clywed llais dwyfoldeb. Pan y deffröid y meirw gan ei lef a'i gyffyrddiad, gwelai yr edrychwyr yni yr hwn a ddywedai amdano ei hun—

"Myfi yw yr adgyfodiad a'r bywyd." Ac at hyn oll, pwy feiddiai wneud y fath ddatganiad a hwn amdano ei hun, oddieithr ei fod yn ymwybyddol o gorfforiad dwyfoldeb yn ei Berson ei hun. Ac yn hytrach na rhoddi y fath allu, buasai Duw yn fwy tebyg o felldithio am byth y sawl a hònai yr hyn a wnaethai yr Iesu. Rhaid, gan hyny, fod y term hwn—"delw"—yn cynwys dwyfoldeb llawn yn amlygu ei hun gerbron y byd.

II.—Fod pen yr eglwys yn ben y greadigaeth.

"Cyntaf-anedig pob creadur," neu yr holl greadigaeth.

Yr oedd y term "cyntaf-anedig" yn adnabyddedig ac arferedig yn mysg Iuddewon Palestina. Defnyddid term cyffelyb am y "*Logos*" yn mhlith yr Iuddewon Alexandraidd. Ac o gymwyso yr ystyr roddid i'r gair ganddynt at Grist, mae'n golygu *blaenoriaeth bodolaeth* i'r holl fydysawd, ac felly yn rhan o'r urdd dragwyddol o fodolaeth. Golyga, hefyd, ei arglwyddiaeth dros yr holl greadigaeth yn rhinwedd ei flaenoriaeth dragwyddol. Nid y meddwl, gan hyny, yw ei fod y cyntaf a'r mwyaf o fodau crëedig, eithr yn bodoli o flaen, ac felly yn llywodraethu dros bob peth crëedig. Nid yw y term, gan hyny, yn dod i wrthdarawiad â'r ystyr roddwyd eisoes i "ddelw y Duw anweledig." Nis gall olygu ei fod yn greadur, "oblegid trwyddo Ef y crewyd pob peth." "Mae Efe cyn pob peth, ac ynddo Ef y mae pob peth yn cyd-sefyll." Byddai y mab hynaf, fel rheol, yn cynddrychioli ei dad, ac yn llywodraethu yn ei enw ef, a dyna fel y daeth y term cyntaf-anedig i olygu uwchafiaeth sefyllfa, ac awdurdod lywodraethol. Am Dafydd, ei

wasanaethwr, dywed yr Arglwydd, "Mi a'i gwnaf yntau yn *gynfab* (neu yn ol y cyfieithiad Seisnig, yn *gyntaf-anedig*), goruwch brenhinoedd y ddaear." Gorchymynodd yr Arglwydd i Moses ddywedyd wrth Pharaoh, "Fy mab i, sef fy *nghyntaf-anedig*, yw Israel." Ac am Israel edifeiriol y dywedodd yr Arglwydd, "Myfi sydd Dad i Israel, ac Ephraim yw fy *nghyntaf-anedig*." Gelwir yr eglwys gan yr Apostol Paul, yn "gymanfa a chynulleidfa y rhai *cyntaf-anedig*."

Fel "cyntaf-anedig pob creadur," y mae Crist, gan hyny, yn Ben, ac yn llywodraethwr yr holl greadigaeth. Fel mai cyntaf-anedig pob tŷ oedd yr hwn yr ymddiriedid llywodraeth y tŷ iddo, er nad hwnw oedd y mab hynaf bob amser; felly, hefyd, "cyntaf-anedig yr holl greadigaeth" ydyw Efe ag sydd yn Arglwydd a Llywodraethwr yr holl greadigaeth; a swydd-gylch yr hwn ydyw arddangos i'r cread "ddelw" a phriodoleddau y "Duw anweledig." Mae Efe "goruwch pob tywysogaeth, ac awdurdod, a gallu, ac arglwyddiaeth, a phob enw a enwir, nid yn unig yn y byd hwn, ond hefyd yn yr hwn a ddaw." "A Duw a ddarostyngodd bob peth dan ei draed Ef, ac a'i rhoddes Ef yn Ben uwchlaw pob peth i'r eglwys." Medda Pen yr eglwys, a'r hwn sydd ganddo "awdurdod ar y ddaear i faddeu pechodau," lywodraeth ac awdurdod dros bob creadur yn rhinwedd ei Iawn mawr. Ie, dros bob creadur moesol, o'r angel da uchaf yn y nefoedd, i lawr at yr angel drwg gwaethaf yn uffern, os oes yno rai gwaeth nag ereill. Medda y fath awdurdod dros arch-engyl, fel na feiddiant symud yn groes i'w ewyllys Ef, a'r fath awdurdod a dylanwad

dros eu serchiadau, fel na ddewisant weithredu ond ar ei arch Ef. "Ar yr hyn bethau y mae yr angelion yn *chwenychu* edrych." Mae y Brenin Iesu wedi enill calon yr holl nefoedd. Medda awdurdod, hefyd, dros gythreuliaid, fel na chânt symud modfedd tuhwnt i'w terfynau. Er fod y diafol yn gryfach na ni, sicr yw na âd Pen yr eglwys iddo "ein temtio uwchlaw yr hyn a allom." Medda Efe, eto, awdurdod dros yr holl greadigaeth faterol—o'r byd mwyaf lewyrcha yn yr eangder diderfyn, at yr *ovule* bychan, anweledig i lygaid noeth, sydd yn syfrdanu gwyddonwyr yr oes hon. Ni symuda byd, ac ni ysgoga temig, ac ni weithreda un creadur rhesymol tuhwnt cylch llywodraethiad yr hwn sydd "yn ewyllysio fod pob dyn yn gadwedig."

III.—MAI PEN YR EGLWYS A'R GREADIGAETH YDYW AWDWR YR EGLWYS A'R GREADIGAETH.

"Efe, yr hwn yw y *dechreuad*"—"Canys trwyddo Ef y crewyd pob dim," &c.

1. *Efe ydyw awdwr yr eglwys.* "Efe, yr hwn yw y dechreuad."

Mae i'r ymadrodd hwn ystyr a grym achosyddol, a golyga mai Crist ydyw ffynonell bodolaeth a bendithion yr eglwys. Mae y meddylddrych o eglwys yn anmhosibl ond yn Nghrist, a'r ffaith wirioneddol o eglwys yn anmhosibl ond yn ngrym "gwaed ei groes Ef, a chorff ei gnawd Ef trwy farwolaeth." "Yr hwn yw y *dechreuad*." Beth yw eglwys? Cymdeithas o saint, neu bechaduriaid, yn ymdrechu ffoi rhag y digofaint sydd ar ddyfod, a sicrhau cymod â Duw. Crist, gan hyny, ydyw

creawdwr a dechreuad yr eglwys. "Creadur newydd" ydyw pob cristion, a Christ y Gwaredwr ydyw ei greawdwr—"wedi ein creu o'r newydd yn Nghrist Iesu." Nis gallai y Duw mawr—y Llywydd cyfiawn—ond damnio y pechadur. Eithr mae y Duw ymgnawdoledig, "trwy waed ei groes, a chorff ei gnawd trwy farwolaeth," yn gallu cymwyso y dwyfol gariad a'r dwyfol yni yn y fath fodd ag i wneud sant o bechadur. Mae Efe yn "awdwr iachawdwriaeth." Trwy ei aberth anfeidrol gall Efe, yn gyson â hawliau cyfiawnder tragwyddol, gymodi âg Ef ei hun y rhai ydynt "ddieithriaid a gelynion mewn meddwl trwy weithredoedd drwg," trwy faddeu pechodau, dileu eu camweddau, rhoddi calon o gig yn lle calon gareg o'u mewn, a'u sancteiddio. Mae Efe, cyn hyn, wedi effeithio y fath gyfnewidiad a chwildroad ar gymeriadau dynion, nes y teimlai eu hen gyfeillion bron amheuaeth ai yr un personau oeddent. Gwir mai ger ei fron Ef y bernir hwynt yn y dydd diweddaf, ond mae ei allu fel awdwr iachawdwriaeth yn gyfartal i'w fanylwch fel Barnwr. Nid yw yn gofyn mwy oddiwrth ddyn nag y mae yn alluog a boddlon ei roddi i ddyn. Ac yn y dydd hwnw bydd wedi peri i'w briodas-ferch ymdrwsio gyda'r fath ogoniant, ac wedi ei gwneuthur mor sanctaidd, difëus, a diargyhoedd, nes gallu ei *pharadio* mewn disgleirdeb mawr gerbron yr holl greadigaeth foesol. Ni bydd arno gywilydd arddangos ei waith ei hun i'r holl nefoedd. "A'i waith Ef ydym ni, wedi ein creu yn Nghrist Iesu." Crist ydyw *gwir* awdwr y *wir* eglwys. Derbynia ei bodolaeth a'i nerth ohono Ef. Mae'r ymdrech a wneir i osod bodolaeth yr

eglwys mewn math o olyniaeth ddynol, yn rhywbeth cwbl ddieithr i ddysgeidiaeth y Testament Newydd. Crist ei hun, trwy ei waed a'i yspryd, ydyw "*dechreuad*" pob credadyn, ac awdwr pob gwir eglwys. Nid yw yr un gymdeithas o ddynion yn eglwys Crist, ond ag sydd wedi derbyn eu bodolaeth ysprydol, a'u nerth cymdeithasol, yn uniongyrchol oddiwrtho Ef ei hun, trwy weithrediad yr Yspryd Glân.

2. *Efe ydyw awdwr yr adgyfodiad.* "Y cyntaf-anedig oddiwrth y meirw."

Trwy rym ei adgyfodiad ei hun, mae Efe yn achosydd adgyfodiad y rhai a gredant ynddo. Nid yn unig y mae Efe yn meddu gallu ac awdurdod dros y meirw, eithr y mae hefyd yn awdwr y cyfryw awdurdod. Nid wedi ei chael y mae, eithr wedi ei *chreu.* "Myfi," meddai, "*ydyw* yr adgyfodiad a'r bywyd." Ynddo Ef yr erys y nerth annherfynol a gwyd y meirw. Disgynodd ei yni anfeidrol i fedd Lazarus marw, ac esgynodd o'r bedd Lazarus byw. A'r gallu a'r awdurdod hwn a gynwysir yn yr ymadrodd hwn, "cyntaf-anedig oddiwrth y meirw." O ran amser yr oedd llawer wedi adgyfodi o'i flaen Ef, eithr blaenorai y gallu ynddo o flaen pob adgyfodiad. Trodd Efe agoriadau beddau lawer pan yn disgyn i gyfeiriad ei fedd ei hun. Cyfododd llawer o feirw yn sŵn clul ei farwolaeth Ef. Rhoddodd y "cyntaf-anedig oddiwrth y meirw" rybudd i angau, dan yr Hen Oruchwyliaeth, trwy offerynau *(medium)* dynol, ei fod yn dyfod i gymeryd meddiant o ymerodraeth marwolaeth. Efe a ddadebrodd amrai oedd yn tawel

huno yn mreichiau angau, megis mab y weddw o Sarephta trwy Elias; mab y weddw o Sunamees trwy Elisëus; a'r gŵr syrthiodd i fedd Elisëus, ac a ddaeth yn fyw trwy gyffwrdd â'i esgyrn. Anfonodd lythyr at angau trwy y Proffwyd Hosea, yn dywedyd—"byddaf angau i ti, O angau, a byddaf dranc i ti, y bedd." Eithr ar Galfari, clywodd angau sŵn traed y Brenin yn cerdded y fynedfa, a dychrynodd nes gollwng llawer o'i ddeiliaid yn rhydd. Ac wrth ddod i fyny boreu y trydydd dydd, daeth âg agoriadau beddau y byd i fyny gydag Ef; ac maent er hyny yn hongian wrth ei wregys. Rhoddodd eu benthyg weithiau i rai o'r Apostolion, megis i Paul, fel y gallai agor clo marwolaeth i'r bachgen gysgodd yn yr odfa, ac a syrthiodd trwy y ffenestr, nes marw. "Efe yw y cyntaf-anedig oddiwrth y meirw."

3. *Efe ydyw awdwr y greadigaeth.* "Canys trwyddo Ef y crewyd pob dim ag sydd yn y nefoedd, ac sydd ar y ddaear," &c.

Ymddenys mai "ynddo Ef" ydyw y cyfieithiad cywiraf yma, a golyga fod y weithred o greu yn "gorphwys ynddo Ef, ac yn dibynu arno Ef am ei chyflawniad a'i sylweddoliad." Mae y ffaith fawr fod pob peth wedi ei greu, yn cael ei *rwymo i fyny* ynddo Ef fel ei ddirgelwch. Yr oedd creadigaeth pob peth ynddo Ef fel y mae yr *effaith yn aros yn ei achos.* Bwriedir yr ymadrodd hwn gan yr Apostol, fel gwrthwenwyn i'r syniad Essenaidd beryglai yr eglwys parthed yr angelion y tybid oedd yn meddu rhyw fath o allu creadigol.

"Trwyddo (neu ynddo) Ef y crewyd *pob dim*"—neb arall a rhan na chyfran yn nghreadigaeth unrhyw elfen yn y bydysawd mawr. Mae'r ymadroddion sydd yn y testyn yn ddigon eang i gynwys yr holl greadigaeth—"pob dim sydd yn y nefoedd, ac sydd ar y ddaear." Y nefoedd yn golygu pob rhan o'r cread tuallan i'n daear ni—y ddaear yn golygu ein byd arbenig ni. "Gweledig ac anweledig." Dyma ymadrodd sydd yn lapio holl ansoddau gwahanol y greadigaeth ynddo ei hun. Nid yw yn golygu, o angenrheidrwydd, y materol gweledig, a'r ysprydol anweledig, eithr gall olygu yr anweledig fychan neu bell, yn gystal a'r ysprydol anweledig. Mae Efe yn awdwr y "thronau, yr arglwyddiaethau, tywysogaethau, a'r meddiannau," neu yn fwy cywir, "y gorseddfeinciau, arglwyddiaethau, llywodraethau, ac awdurdodau." Mae y galluoedd angylaidd goruchel y priodolid rhyw nerth creadigol iddynt wedi eu creu trwyddo ac ynddo Ef. Y fath ffynonell diogelwch i'r eglwys ydyw y ffaith fod ei Phen yn awdwr yr holl greadigaeth.

IV.—Fod awdwr yr eglwys a'r greadigaeth yn ffynonell fawr bywyd, yni, a chynaliaeth yr eglwys a'r greadigaeth.

"Rhyngodd bodd i'r Tad drigo o bob cyflawnder ynddo Ef"—dyna'r Iesu fel ffynonell cynaliaeth yr eglwys. "Ac ynddo Ef y mae pob peth yn cyd-sefyll"—dyna'r Iesu fel gallu cynaliol y greadigaeth.

Yn ei berthynas â'r eglwys, mae yn ei Berson a'i haeddiant Ef fel Gwaredwr, bob cyflenwad cynaliaethol ag sydd angenrheidiol er cynydd a chryfhâd pob aelod

byw o'r eglwys. Mae Efe yn fwyd yn gystal a bywyd yr eglwys. Efe yw "bara y bywyd"—cynalydd yn gystal ag awdwr ei bywyd. Ohono Ef y derbynia ei phurdeb presenol, a'i gobaith at y dyfodol. Dyry Efe i'w bobl bob cysur—pob nerth yn ol y dydd, a chymorth yn ol yr achos—pob peth sydd yn bywiogi a phob peth sydd yn atal. Os bydd angen am symbylyddion yn chwanegol at luniaeth ysprydol, mae ynddo Ef bob cyflawnder yn ysprydoliaeth ei gymdeithas fywiol. Ac yn sicr, mae'r eglwys mewn angen mawr am symbyliad ysprydol yn yr oes hon. Nodweddir yr eglwys gan raddau gormodol o ddifaterwch a marweidd-dra ysprydol, ac mae eisieu iddi ymwasgu yn nes at Berson y Pen mawr, i dderbyn symbyliad a bywiogrwydd, modd y byddo iddi gyflawni y wasanaeth benodedig iddi yn ei pherthynas â'r byd pechadurus. Mae ynddo Ef, hefyd, gyflawnder meddyginiaeth ysprydol i'w bobl anafus ac isel eu hiechyd ysprydol. Ac yn sicr, mae llawer o aelodau yr eglwys i'w gweled yn amlach yn y feddygfa ysprydol nag yn y cwpwrdd mawr lle y mae cyflawnder cynaliaeth tragwyddol. Mae rhai ohonom yn rhy agos i berygl, drain, neu elynion yr enaid, ac yn dod yn ol dan ein clwyfau, a mynych raid troi at y Meddyg mawr. Mae'n anhawdd gwybod beth ddeuai o'r mwyafrif o gristionogion oni bai am ddysgeidiaeth y geiriau acw—"ac o phecha neb, y mae i ni Eiriolwr gyd â'r Tad, Iesu Grist y Cyfiawn." Eithr y bobl sydd yn ymdrechu byw ar y gynaliaeth sydd ynddo Ef, a gwneud y Meddyg mor ddiangenrhaid ag sydd bosibl, sydd yn cynyddu yn mhob rhinwedd ysprydol.

Mae ynddo Ef, hefyd, "bob cyflawnder" cysur i'w bobl yn holl brofedigaethau amrywiol bywyd. Gall yr holl weddwon, y rhai amddifaid, a'r rhai trallodedig, ymdyru ato Ef, ac aros i dderbyn ganddo, a chânt bob amser brofi nad oes terfyn ar ei "bob cyflawnder Ef" Ac ni raid i neb aros *turn*, gan ei fod yn alluog i gyfranu i bawb ar yr un foment. Ni chollodd Bartimëus y *turn* er fod tyrfa fawr o gwmpas yr Iesu er yn foreu iawn y diwrnod hwnw. Medda Ef, hefyd, ddigon o ogoniant yn ei Berson i addurno glanau afon angau o'r ddau du, fel ag i ddileu ofn croesi i'r saint. Ni raid i neb o'r bobl briodol ofni i gyflawnder mwy yn wrthwynebol i ni orchfygu y cyflawnder sydd ynddo Ef.

*Efe ydyw ffynonell cynaliaeth a nerth yr holl greadigaeth.* "Y mae Efe cyn pob peth, ac ynddo Ef y mae pob peth yn cyd-sefyll."

Perthynas pob peth âg Awdwr y greadigaeth a bâr iddi sefyll, a chyd-berthynas pob peth âg Ef a bâr iddynt gyd-sefyll. Dyma'r gwirionedd am y greadigaeth faterol. Tybia gwyddonwyr eu bod wedi dod o hyd i ronyn cyntaf bywyd—y *protoplasm*, fel ei gelwir. A hwn, rhyw bryd, sydd yn ymddatblygu yn fywyd pob creadur. Yr elfenau cyfunryw hyn sydd yn ymddatblygu yn fywyd y pysgodyn yn gystal a'r aderyn, yr ymlusgiad yn gystal a'r bwystfil, dyn yn gystal a'r anifail. Ond pan y gofynir paham y mae elfenau hollol gyfunryw yn ymddatblygu yn fil a mwy o wahanol greaduriaid, nid oes neb yn gallu ateb yn foddhaol. A hyd hyny, parhawn i gredu mai cyd-berthynas yr oll âg Ef—Pen

yr eglwys—sydd yn cyfrif am yr holl ddirgelwch gogoneddus hwn. Efe sydd yn gyru pob *ovule* ar ei hynt er cyraedd amcan gogoneddus yr Awdwr mawr—un i gyfeiriad y pysgodyn, arall i gyfeiriad yr aderyn, ac arall i gyfeiriad yr anifail, &c.

Mae dau allu mawr yn y gyfundrefn heulog a elwir yn *nerth craiddffoawl (centrefugal force)*, a *nerth craiddgeisiol (centrepital force)*—un yn peri i'r bydoedd symudol ffoi oddiwrth yr haul, a'r llall yn meddu ei safle yn yr haul, ac yn tynu ato. Ond pwy all ddyweyd beth ydyw y nerthoedd hyn ar wahân i'w darganfod a gosod enwau arnynt? Beth yw y grym bâr iddynt ffoi, pe gallent, oddiwrth yr haul? Nid oes neb all roddi atebiad boddhaol oddiar safle wyddonol. A hyd hyny, glynwn yn y grediniaeth eu bod yn cyd-sefyll neu yn cyd-symud mewn trefn ardderchog yn eu cyd-berthynas âg Ef. Cyfoded y cread ei ddwylaw mewn syndod bythol fod pechadur, wedi ei achub trwy ras, yn cael ei amgylchu gan y fath nerth a chyfoeth. Ond mwy na hyn eto, derbynia angylion rym eu cyd-safiad, yn eu cyd-berthynas âg Ef. Mae dealltwriaeth pob cerub yn adlewyrchu ei oleuni Ef, ac nid yw tanbeidrwydd pob seraph, ond gwres angerddol ei gariad Ef. Mewn gair, mae pob peth a alwodd Efe i fodolaeth, yn meddu cynaliaeth a pharhad eu bodolaeth yn eu perthynas âg Ef. Nid oes neb eto wedi gallu profi y gallai y cread sefyll am foment yn annibynol ar ei berthynas âg Ef. Ymdreched pob cristion sylweddoli fod y Person gogoneddus hwn yn frawd iddo, a phob sant yn ganwyll ei lygad Ef.

V.—Fod yr eglwys, gan hyny, trwy Grist ei phen, yn rhan anrhydeddus, diogel, a pherffaith o greadigaeth fawr Duw.

Mae Efe ar un llaw wedi cymodi âg Ef ei hun bob peth yn y nefoedd a'r ddaear; ac ar y llaw arall, wedi ein cymodi ninau, y dieithriaid a'r gelynion, âg Ef ei hun. Mae'r undeb mor agos a pherffaith, fel nas gallai angel sarhau y cristion heb sarhau Crist ei hun, ac felly, sarhau y Creawdwr; oblegid trwyddo Ef y gwnaethpwyd pob peth, ac mae pob angel yn rhan o'i greadigaeth Ef. Eithr ni raid ofni sarhad o'r cyfeiriad hwn, oblegid "ar yr hyn bethau y mae yr angylion yn chwenychu edrych." Mae awdurdod anfeidrol Pen yr eglwys, a'i undeb perffaith â'r cread oll, yn sicrwydd diogelwch yr eglwys yn ei pherthynas â holl greaduriaid rhesymol ufudd llywodraeth Duw. Ac nis gall Satan ddinystrio yr eglwys, oblegid fod Pen yr eglwys yn gryfach na'r "cryf arfog." Nid yw Satan ond creadur wedi derbyn niwaid tragwyddol yn rhyfel mawr y groes; eithr mae Pen yr eglwys yn ddelw y Duw anweledig, ac yn gyntafanedig pob creadur—yn greawdwr a chynaliwr pob peth trwy air ei nerth. "Pyrth uffern," gan hyny, "ni orchfygant" yr eglwys. Ac nid oes alluoedd ereill fynent orchfygu yr eglwys, pe gallent. Ni ddaw gwrthdarawiad byth rhwng yr eglwys a rhanau ereill y greadigaeth, oblegid y mae Efe "yn Ben ar bob peth i'r eglwys." Ni ddaw yr un gomed i *blastio* yr hen ddaear nes bydd yr eglwys wedi ei pherffeithio, oherwydd Pen yr eglwys sydd yn rheoli symudiadau y comedau oll. Ac mae Efe yn meddu meistrolaeth perffaith ar ei holl waith—"yn

abl i gadw yr hyn a roddwyd ato." Ni raid iddo Ef adael y greadigaeth i ofalu am yr eglwys, na gadael yr eglwys i lywio y greadigaeth—gall wneud i bob peth ar unwaith gydsymud a chydweithio. Ceir gweled, weithiau, wedi ei argraffu ar ager-longau bychain sydd yn croesi afonydd mewn lleoedd peryglus y geiriau—"*passengers are requested not to speak to the man at the helm*"—("dymunir ar i'r teithwyr beidio siarad â'r dyn wrth y llyw;") a'r rheswm am hyn oll ydyw, anallu y gŵr sydd wrth y llyw i ofalu am y llyw a rhoddi sylw i'r neb sydd yn llefaru. Yn gwbl i'r gwrthwyneb y gallwn ni ddyweyd parthed y Gŵr sydd wrth lyw y greadigaeth fawr. Gwahoddir yr holl fyd i siarad ar unwaith â'r Gŵr hwn. Deued pob gweddw ac amddifad ato yn eu hunigedd a'u trallod—deued pob cystuddiedig ato yn eu dioddefiadau—deued pob tlawd a darostyngedig ato yn eu siomedigaethau—deued pob cristion gwan ato yn ei ofnau—a deued pob pechadur colledig ato yn nyfnderoedd ei bechod a'i drueni. Siaraded yr oll âg Ef ar unwaith; oblegid mae ganddo ddigon o amser, cyfleustra, ac adnoddau i gyfarfod yr oll yn nghyd, ac ar yr un pryd beidio tynu ei sylw oddiwrth yr un rhan o'i lywodraeth am un foment.



# PERTHYNAS FFYDD YN NUW A GWROLDEB YSPRYDOL.

---

"*Trwy ffydd y gadawodd efe yr Aipht, heb ofni llid y brenin: canys efe a ymwrolodd fel un yn gweled yr anweledig*" (Saes. "*gweled yr hwn sydd anweledig*").

HEB. xi. 27.

DYRY y geiriau hyn olwg fyw iawn ar nodweddion ffydd Moses pan ar ymadael â'r Aipht am y môr, yr anialwch, a "thaledigaeth y gwobrwy." Mae'r testyn yn cynwys yr ymadrodd cryfaf a mwyaf mynegiadol o ffydd yn yr Ysgrythyrau—"gweled yr Anweledig"—sylweddoli y gwrthddrychol, nes mae'n dod yn allu deiliadyddol. Nid rhyw goelio llac a diddylanwad, eithr dygiad yr anweledig i fod yn *living pictures* gerbron y meddwl. Nid rhyw fath o feddwl fod rhywbeth mawr yn bodoli yn yr anweledig acw, ond y gallu ysprydol byw i ddod a'r cyfryw yn allu mwyaf ein bywyd yma. Mae ambell i eneth oddicartref yn sylweddoli bywyd a symudiadau ei mam nes ei thynu ati i bob man mor gryf fel ag i aros hyd nod yn fwy dan ei dylanwad na phan oedd gartref; a diau y gall aml un, fel fy hunan, ddwyn tystiolaeth fod arno fwy o ddylanwad cymeriad ei fam dduwiol yn awr na phan oedd yn fyw ger ei fron. Fe wêl llygaid ffydd ogoniant mwy nag sydd bosibl i lygaid o gnawd. "Ni'm gwêl dyn a *byw*," medd yr Arglwydd wrth Moses. Eithr gall y sant edrych ar

Dduw trwy ffydd a *byw*, er y dywedir i'r hen Fletcher gael y fath olwg arno trwy ffydd nes iddo ddywedyd, "Arglwydd, atal dy law, onide fe dŷr y cwpan."

Nis gellir meddu y sylweddoliad byw hwn heb seiliau cryfion sicrwydd. Yn y seiliau hyn yr erys y gwahaniaeth rhwng *ofergoeledd* a *ffydd*. Heb sail gadarn nid yw y gwrthddrych ond dychymyg gwâg, ond gyda sail y mae yn sylwedd gwirioneddol. Meddylia yr ofergoelus ei fod yn gweled gwrthddrych ardderchog, eithr nid oes yna wrthddrych gwirioneddol ar gyfer ei lygaid. Meddylia y credadyn ei fod yn gweled gwrthddrych ardderchog, ac mae yn bod ar gyfer ei lygaid. Fe gred y pabydd fod yn yr offeiriad faddeuwr, pryd nad oes yna yn fynych ond *scamp* gwaeth o lawer nag ef ei hun. Eithr gwêl y cristion protestanaidd faddeuwr yn y Duw mawr ag sydd yn gallu maddeu dan ganu.

Mae y seiliau oedd gan Moses i'w ffydd yn Nuw gyda golwg ar y dyfodol i'w cael yn ei brofiad o Dduw yn y gorphenol. Mae'r oruwch-adeiladaeth, sydd a'i binaclau yn saethu yn uwch na'r cymylau, yn sylfaenedig ar y datguddiedigaethau roddai Duw i Moses ohono ei hun pan yn cyflwyno ei gynlluniau a'i addewidion iddo, yn neillduol felly yn nhir Midian. Un diwrnod, mae Moses, tra yn bugeilio praidd ei dad-yn-nghyfraith, Jethro, yn gweled perth yn llosgi ar ochr y bryn acw. Dichon nad oedd hyny yn achos syndod mawr iawn mewn gwlad sych a phoeth fel hono. Eithr ei gweled yn parhau i losgi heb ei difa yn mhell tuhwnt i'r amser y dylasai, yn ol deddfau cyffredin natur, fod *wedi* ei difa, oedd yn rhyfeddod fawr. Dyma barodd i Moses droi ac edrych ar y

weledigaeth fawr hon. A phan *gatchiodd* Duw ei lygaid ef o ganol y tân, mae'n llefaru wrtho ; "Dôs i'r Aipht, a dywed wrth blant Israel fy mod wedi 'disgyn i'w gwaredu o law yr Aiphtiaid, ac i'w dwyn o'r wlad hono, i wlad dda a helaeth—i wlad yn llifeirio o laeth a mêl,' " &c. Ac mewn atebiad i ofyniad Moses am ei enw, mae yn galw ei hun yn—"YDWYF YR HWN YDWYF." Dyma enw, cenadwri, a gorchymyn fuasai yn gabledd ofnadwy o enau pawb ond Duw ei hun, a dyma wyrth ogoneddus yn cael ei chyflawni gan roddwr y gorchymyn a'r genadwri i fod yn sylfaen i ffydd Moses yn Nuw. Ond teimlai yr Arglwydd fod ar Moses, yn ei berthynas â'r Aiphtiaid, angen nerth pellach, a seiliau cryfach eto i'w ffydd. Yn mhen ychydig wedi hyny, mae yr un llais yn disgyn ar ei glyboedd drachefn, a deallodd y *dinc* ar unwaith. Mae gan Dduw yn awr filoedd o'i blant sydd yn adnabod tinc ei lais yn y gyfeillach, y cyfarfod gweddi, a'r dirgel. Y tro nesaf gofynodd i Moses, "Beth sydd yn dy law?" Dywedodd yntau, "Gwialen." "Gyda hon yr wyf yn bugeilio y praidd ac yn dringo y bryniau." "Tafl hi ar lawr." Mae Moses yn gwneud hyny, a dacw hi yn sarff hyll, ddolenog, ger ei fron. Dychrynodd yn yr olwg arni, a chiliodd oddiwrthi gan ofn. Rhyfedd, hefyd, fod ei hen ffrind yn mysg y praidd yn rhoddi y fath fraw iddo. Ond mae yr un llais yn dyfod ato drachefn, gan ddywedyd, "gafael yn ei chynffon hi." Gwnaeth Moses hyny, a dyma hi yn fagl ffon yn ei law ar unwaith. Dyma gareg sylfaen arall i ffydd Moses yn ei Dduw. Ond er ei wneud yn ddigon cryf i wynebu pob gofynion, mae y llais yn dod drachefn, gan

ddywedyd, "dyro dy law yn dy fynwes." Mae Moses yn gwneuthur hyny. "Tỳn hi allan." Mae Moses yn gwneuthur hyny, ac wele hi yn wỳn fel yr eira—y *stage* nesaf i farwolaeth yn y gwahanglwyf. "Dod eilwaith dy law yn dy fynwes." Gwnaeth Moses hyny, ac wele, hi a droisai fel ei gnawd arall ef. Syndod fel mae'r Arglwydd yn troi mynwes Moses yn "sefydliad y gwahanglwyf" ac yn feddygdy mewn dau funud. Eithr yn hyn oll mae'n cyflawni dwy wyrth yn olynol. Mae'n taro Moses â'r gradd nesaf i angau o afiechyd sydd yn dechreu yn fychan, ac yn datblygu yn araf; ac yn gwella mewn eiliad afiechyd nas gall neb arall ei wella byth. Mae hyn oll yn cael y lle dyfnaf yn enaid Moses, gan ei lenwi â gwroldeb diffuant. Yr wyf megis yn ei glywed yn dywedyd, Arglwydd, beth bynag a ddywedi, mi a'i *credaf*, a beth bynag a orchymyni, mi a'i *gwnaf*. Mae'n gweled pob peth yn ngallu, gwybodaeth, a ffyddlondeb Duw. "Efe a ymwrolodd fel un yn gweled, a ymwrolodd yn *ngrym* gweled yr Hwn sydd anweledig."

Yn ol y cyfieithiad Cymreig i'r gair hwn "a ymwrolodd," *nerth* y gwroldeb a olygir; eithr yn ol y cyfieithiad Seisnig, *dyfalwch* a *gwydnwch* y gwroldeb, a olygir. Ac mae eisieu y ddau i gyfleu yr oll ddylai y gair ei gynwys. Yr oedd mawredd anhawsderau Moses yn galw am *nerth mawr* i'r gwroldeb, ac yr oedd meithder amser yr ymgyrch o'r Aipht i daledigaeth y gwobrwy, yn galw am *ddyfalbarhad* (*endurance*) *mawr*. Ac yn sicr, nid rhyw fflach am dro ydyw ffydd y cristion i fod, eithr nerth sefydlog, cyson, a diffuant, i wynebu holl daith yr anialwch, beth bynag all fod ei meithder.

Y mater ddysgir yn y testyn ydyw, *Perthynas ffydd yn Nuw â gwroldeb ysprydol.*

Wrth ddal y testyn yn ngoleuni hanes Moses, fel ei dysgir yn yr Hen Destament, mae dylanwad ffydd yn Nuw, er cynyrchu gwroldeb crefyddol, yn cael ei amlygu mewn tri cysylltiad pwysig. Nodwn yn

I.—Fod ffydd yn Nuw yn gwroli i adael goreu y byd hwn.

"Y gadawodd efe yr Aipht."

Yr oedd yr Aipht yn y cyfnod hwnw yn un o wledydd mawr y byd, ac yn meddu llawer o oreu daear, megis cyfoeth, anrhydedd, pleser o bob math. Ond at hyn oll, yr oedd yn enwog mewn celfyddyd, o'r hyn yr erys y Pyramidiau yn dystiolaeth oesol. Mae rhai ohonynt, ag sydd yn aros ar eu traed wedi ystormydd y byd am filoedd o flynyddau, yn uwch o ugeiniau o droedfeddi nag uchafbwynt Eglwys Gadeiriol St. Paul's, Llundain; ac mae yn yr adeiladau gogoneddus hyny gerig mor aruthrol o fawr, mewn lleoedd mor anferthol o uchel, fel nad oes, heddyw, mewn hyd nod unrhyw wlad wareiddiedig, beirianydd all ddyfeisio peiriant digon cryf a chelfydd i godi cerig o'r fath i uchder mor fawr. Gwelir, felly, mai nid peth bychan a dibwys oedd i Moses adael yr Aipht. Gogoniant paganaidd, wrth gwrs, oedd eiddo y wlad hono. Gogoniant yn y *canol* oedd yr oll. Yr oedd yr holl ysplander, cyfoeth, a phleser, yn eiddo y brenin a'r bendefigaeth, a phawb ereill yn gaethion. Yr oedd y lluaws yn gorfod cyflwyno eu bywyd a'u llafur i wasanaeth yr ychydig o'r mawrion oedd yn ym-

ddisgleirio yn y canol, ac yn gorfod byw eu hunain mewn cytiau, tlodi, a chaethiwed. Dyma hanes gwledydd paganaidd mwyaf llwyddiannus y byd. Yr oedd tri o bob pump o drigolion Groeg ddysgedig, ond paganaidd, yn gaethion ; ac fe ddywedir fod pedwar o bob pump o drigolion Rhufain baganaidd yn gaethion gorthrymedig. Lled gyffelyb i hyn ydoedd yn yr Aipht. Eithr yr oedd y canol, lle y preswyliai ac yr ymfoethai y brenin a'i lyswyr ar gynyrch caledwaith pawb arall, yn ogoneddus. A dyma lle yr ymddengys ffydd Moses yn y Duw anweledig yn wir ogoneddus. Nid i gaethiwed ei genedl ei hun y cymerwyd Moses, eithr i'r palas brenhinol. Magwyd ef o'i fabandod yn nghanol ysplander breiniol. Nid oedd ei gof yn ei gludo i adeg ei gyffredinedd a'i dlodi. Mae'n eglur mai ei brydferthwch oedd y seren arweiniol i bawb ddaeth i gysylltiad âg ef. Yr oedd ef yn *dlws gan* bawb, eithr *tlws i Dduw.* Fe drodd yr Arglwydd ei dlysni *gan* bawb arall, yn *dlysni* iddo ei hun. Diogelwyd ef gyda merch Pharaoh gan ei brydferthwch, a diogelwyd ef rhag ei daflu megis un anhymig i'r afon Nilus gan Pharaoh ei hun, trwy ei brydferthwch. Eithr pa fantais bynag, er ei gael i'r teulu brenhinol, oedd ei brydferthwch, a siarad yn ddynol, ni allai ei brydferthwch fod ond anfantais iddo adael mawredd a phleserau yr Aipht, fel y tyfai i fyny. Fel y gweddill o blant dynion, ac yn enwedig mawrion y ddaear, diau na bu ddieithr i'r drych ; ac yno cafodd olwg ar brydferthwch personol oedd yn tueddu yn naturiol i'w wneud yn falch a *vain.* Ac wedi cysylltu ei brydferthwch â'i safle gymdeithasol, mae uwchlaw dirnadaeth

plant y byd hwn pa fodd na allodd yr Aipht ei swyno iddi ei hun am byth. Gwir iddo gael ei fam i'w fagu yno, ond mae'n anrhydedd tragwyddol i enw gwraig gyffredin beidio colli ei phen yn y fath safle oruchel, a pheidio sefydlu i lawr am ei hoes yn y safle hono.

Pa fodd bynag mae Moses yn nghanol hudoliaethau, a swynion, mawredd, cyfoeth, anrhydedd, a phleserau amrywiol yr Aipht, yn ymddatblygu i weled pethau mwy a gogoneddusach yn yr Anweledig. Gwelodd Frenin arall trwy ffydd a wnai Pharaoh megis diddim yn ei olwg. Gwelai *gariad* brenhinol yn yr Anweledig a'i galluogodd i beidio "ofni llid" y brenin gweledig. Gwelodd bendefigaeth yn yr Anweledig a wnai i bendefigion yr Aipht ymddangos megis crwydriaid yn symud o'r cryd i'r bedd. Gwelodd yn yr Anweledig gyfoeth a phleser diddiflanedig, a'i galluogodd i sylweddoli nad oedd pobpeth yr Aipht ond dros amser. A'r sylweddoliad hwn a'i galluogodd yn rhwydd i adael yr Aipht. Rhyw gwlwm-dolen oedd rhwng Moses a'r Aipht, yn datod wrth ei dynu, ond yr oedd cwlwm-gwlwm rhyngddo â'r Anweledig, yn tynhau dan bwys chwanegol. Erbyn dod yn ddeugain oed yr oedd fel yr awyren, mor llawn o nwyon yr Anweledig, nes gallu yn naturiol adael yr Aipht.

Yn awr, yr hyn wnaeth ffydd i Moses ddylai wneud i ninau ; a hi ai gwna, ond i ni ei meddu yn llawn. Yr oedd Moses yn holl ogoniant yr Aipht, ond nid oedd llawer o'r Aipht yn Moses, gan ei fod, trwy ffydd, yn llawn o'r Anweledig. Dylem ninau, er byw yn y byd i'w lywodraethu, fyw i atal y byd rhag ein llanw ni, trwy ymlenwi â'r Anweledig. Cadwodd Job y byd

ysprydol yn ei galon, a'r byd materol yn ei ddwylaw. Ac yn ngrym y byd ysprydol yn ei galon, rhanodd ei fyd materol i weddwon, amddifaid, a thlodion. Fel hyn, yn ngrym y gwelediad clir a byw o'r Anweledig, a sylweddoliad dwfn o'r dwyfol, mae Moses, heb ofn, na braw, na phryder, yn gadael yr Aipht. Dyma ddylai fod yn feddiant profiadol pob cristion. Nid yw neb yn deilwng o'r enw mawr sydd arno, os nad yw sylweddau anweledig y byd ysprydol yn cael eu tynu gan ffydd yn nes ato na holl sylweddau darfodedig y byd presenol.

II.—FOD FFYDD YN NUW YN GWROLI I ORCHFYGU GWAETHAF Y BYD HWN.

Mae'n anhawdd, ïe, yn anmhosibl dychmygu anhawsderau mwy ofnadwy nag a nodweddai ymdaith Moses rhwng yr Aipht a "thaledigaeth y gwobrwy." Yr oeddent o bob natur, o bob ffurf, ac yn rhuthro o bob cyfeiriad. Ond gwelodd Moses yn ei Dduw yr elfenau oedd yn dadrys pob *problem*, ac yn gorchfygu pob anhawsder. Nid oedd Moses wedi derbyn unrhyw raglen gan yr Arglwydd. Deuai y cyfryw iddo bob yn *item*. Nodwedd fawr ffydd Moses oedd sicrwydd llawn yn ffyddlondeb Duw i'w addewidion, heb dderbyn na disgwyl manylion ond fel y symudai yn mlaen. Parhaodd Moses i "weled yr *Hwn sydd Anweledig*" yn ngwyneb yr anhawsderau mwyaf allai byth gyfarfod pererin ar ei daith trwy anialwch y byd hwn. Ac ymwrolodd nes gorchfygu yr oll.

1. *Gwelodd Moses yn Nuw y Peirianydd anfeidrol i orchfygu anhawsderau daearyddol y daith.*

Wedi gadael yr Aipht, a dyfod at làn y Môr Coch,

mae'n cael ei amgylchynu âg anhawsderau. Y môr brigwyn yn y blaen—mynyddoedd Pihahiroth a Baal-sephon ar bob llaw, a gair wedi dod i'r *front* yn hyspysu fod Pharaoh a'i lu yn parotoi yn dra phrysur i erlyn ar eu hol. Ac o dan ddylanwad y cyfryw anhawsderau, mae plant Israel yn digaloni, ac yn troi i rwgnach oherwydd iddo eu cymeryd o'r Aipht, lle yr oedd beddau i gladdu y meirw, os nad nemawr o gysur i'r byw, i le heb gyfleustra i wneud y gymwynas olaf i'w gilydd. Teimlent y caent farw y naill ar ol y llall yn yr Aipht, a chael eu claddu yn barchus gan eu hanwyliaid, yr hyn oedd yn fater tra phwysig gan bob Iuddew. Ond wrth làn y Môr Coch ni welent ddim gwell yn eu haros na marw gyda'u gilydd, a gadael eu cyrff ar y maes i wres crasboeth yr haul, ac i raib adar ysglyfaethus y nefoedd, a bwystfilod y ddaear. Ac fel hyn y gadawyd Moses rhyngddo a'i Arglwydd, heb neb yn cynorthwyo.

Eithr ni effeithiodd hyn ar loewder llygaid ei ffydd ef. Mae'n edrych i fyny, ac ar unwaith y mae'n cael gorchymyn i osod y wialen, fu am enyd yn sarph, ar ddyfroedd y môr. Ac yn ebrwydd dyna ffordd sych, hwylus, yn ymddangos ar draws y môr, o'r Aipht i'r anialwch mawr yr ochr draw. A gwyddai Moses y gallai ac y gwnai yr Arglwydd bob peth angenrheidiol i rwyddhau y ffordd trwy bob anhawsder. Ond wedi cyraedd yr anialwch mae anhawsderau newyddion, gymaint a'r lleill bron, yn gwynebu y bobl. Yr oedd yno ganoedd o filoedd o wŷr, gwragedd, a phlant, eisieu eu harwain ganoedd o filltiroedd ; ac nid oedd ond anialwch gwâg, erchyll yn y golwg i bob cyfeiriad. A

deffrodd y sefyllfa enbyd hono yspryd grwgnach yn y bobl drachefn. Gwelaf rai ohonynt yn esgyn i gopäu y bryniau i edrych am ffyrdd, cerig milltiroedd, neu lwybrau i'r iawn gyfeiriad yn gyfarwyddyd iddynt ar y daith. Eithr ofer a fu pob ymchwiliad, ac uchel, mewn canlyniad, fu y llef yn erbyn Moses am eu cymeryd oddiwrth y crochanau, er gwaethed y cyfryw.

Ond ni siglwyd ffydd Moses am foment yn mhresenoldeb yr anialwch ar y ddaear, na'r anialwch gwaeth fyth yn meddyliau y bobl. "Edrychwch," meddai, "ar y golofn gwmwl yna sydd yn ymsymud ar ochr y bryn draw, dyma i chwi gareg filltir a *guide* yn un. A phan ddaw y nôs, hi a dry yn dân i'ch harwain trwy holl dywyllwch yr anialwch."

2. *Gwelodd Moses yn Nuw y gwyrth-wneuthurwr i orchfygu anhawsderau tlodi ei bobl ar eu taith.*

Gan fod plant Israel i ymdeithio trwy anialwch diffaeth, llwm, a gwyllt, yr oedd eu rhagolygon dynol am fwyd, diod, a dillad, yn hynod dywyll. Yr oedd y daith i gymeryd deugain mlynedd o ran amser, a chanoedd o filltiroedd o ran pellter, a dim darpariaeth ar gyfer hyny, ond yr hyn allent ei gludo gyda hwynt o'r Aipht. Ni chrybwyllir iddynt dderbyn gan yr Aiphtiaid, cyn cychwyn, ond llestri a dodrefn, arian ac aur, a gwisgoedd. Yr oedd cymeryd cyflawnder o fwyd a diod o'r Aipht i ganoedd o filoedd o bobl, am ddeugain mlynedd o daith, yn anmhosibilrwydd dynol. Yn ol barn llawer o'r ysgoleigion Beiblaidd, nid yw nifer y milwyr anfonwyd gan Brydain i'r Transvaal ond bychan o'i gymharu â'r nifer o blant Israel a ymdeithiasant o'r Aipht i Wlad yr

Addewid. Ac yr oedd cyflenwi ein milwyr yn Affrica â holl angenrheidiau eu hymgyrch yn costio i'r wlad hon tua miliwn-a-haner o bunau bob wythnos. Oddiar unrhyw safle ddynol, gan hyny, buasai cychwyn o'r Aipht yn wallgofrwydd hollol. Eithr mae addewidion Duw yn cymeryd i mewn, nid y gallu a'r dealltwriaeth dynol, eithr ei allu a'i ddealltwriaeth ei hun. A dyma oedd gwrthddrych ffydd Moses. Gweithredai ar allu a gwybodaeth anfeidrol fwy na'r eiddo ei hun. Sylweddolai athrylith, gallu, a chariad Duw i gyflawni gwyrthiau parhaol fuasai yn cyflawni angenion ei bobl ar eu taith. Yn fuan wedi croesi y môr am yr anialwch, maent yn dechreu cael eu blino gan syched poenus, ac nid oedd dyfroedd yn y golwg—yr un "ffynon y dyfroedd byw" yn tarddu o'r ddaear, nac hyd nod bydewau wedi eu cloddio. Eithr gwelai Moses yn ei Arglwydd y gwyrth-wneuthurwr i orchfygu'r anhawsderau hyny. Meddyliodd rhai ohonynt fod y cyflenwad wedi dod, hefyd, pan welsant ddyfroedd Mara, ond buan y siomwyd hwynt gan y chwerwder mawr a'i gwnaeth yn anyfadwy. Eithr meddai Moses sicrwydd ffydd y cyfarfyddai yr Arglwydd â'r achos. Ac yn fuan mae yn dechreu siarad wrth Moses. "A weli di y goeden fach acw, Moses? Cymer hi i fyny, a thafl i'r dyfroedd." Gwnaeth Moses yn ol y gorchymyn, a daeth y dwfr yn beraidd, dymunol, ac yfadwy ar unwaith. Mae y bobl yn dechreu canmol y dwfr a chanmol Moses am enyd, eithr gofalodd ef, fel pob gwir Sant, am roddi yr holl fawl i'w Arglwydd. Eithr buan y trôdd yr oll yn rwgnach drachefn. Byw wrth olwg yr oedd y bobl; Moses yn unig oedd yn byw wrth ffydd. Mae y

bobl, yn eu hymdaith, yn gweled fod y darpariadau cychwynol ar ddarfod, ac wrth ddringo y bryniau, ac edrych yn mlaen, ni welent ond anialwch gwâg, erchyll, heb ddim yn tyfu ynddo, cyfaddasol fel lluniaeth dyn. Ac maent yn blino Moses â'u grwgnach eto. Ond mae ynddo ef ddigon o ffydd yn Nuw i fyned trwy anialwch Arabia, ac anialwch meddyliau y bobl. Na flinwch, mae pob peth yn ddiogel: cewch ddigon o gynaliaeth ar y daith. "Pa fodd hyny," meddent, "nid oes i lawr yma yr un golwg am ymborth i ddyn." Dichon hyny, ond rhaid i chwi gofio mai Duw biau i fyny hefyd. Ac ar hyny mae y Manna rhyfedd yn disgyn, fel hadau coriander, wrth ddrysau eu pebyll, o foreu i foreu; ac ieir y mynydd, yn ol gorchymyn Duw, yn cadw eu "planiau" i wneyd swper iddynt o hwyr i hwyr. Ac ar gyfer y Sabboth mae cyflenwad dwbl yn dyfod, i fod yn wers barhaol i'r Eglwys i wneud gan lleied o oruchwylion bydol ag sydd yn bosibl ar ddydd yr Arglwydd. At hyn oll, fe gredodd Moses, yn nghanol anialwch di-fasnach, y gofalai yr Arglwydd am ddillad i'w bobl. A'r ffordd gymerodd Efe oedd cadw y dillad oedd ganddynt heb heneiddio. Mae yn anhawdd gwybod beth wnaeth â dillad y plant oedd ar dyfiant, os na wnaeth iddynt dyfu gyda hwynt. Nid oedd hyny uwchlaw gallu y Gwyrthwneuthurwr anfeidrol. Ac fel hyn y digonwyd hwy â lluniaeth, ac y cadwyd hwy rhag noethni, mewn ymdaith o ddeugain mlynedd yn yr anialwch. Ac ah! onid yw wedi arwain llawer o weddwon ac amddifaid trwy anialwch y byd hwn, yn ngrym cyfres o wyrthiau cyffredin ei drugaredd? Mae llawer o'r cyfryw heddyw,

sydd yn aros mewn syndod diolchgar uwchben adolygiad o fân-wyrthiau dwyfol rhagluniaeth, yn eu dwyn trwy anhawsderau tlodi taith eu hanialwch hwynt; a rhyfeddu y byddant, o "fryniau Caersalem," ar y modd yr arweiniodd yr Arglwydd hwynt am y "deugain mlynedd" hyn.

3. *Gwelodd Moses yn Nuw y Pen-rhyfelwr mawr i orchfygu gelynion ei bobl ar y daith.*

Blinid plant Israel yn eu hymdaith gan elynion penderfynol a chreulon, ar fôr a thir, yn ol ac yn mlaen. Ymlidid hwynt gan yr Aiphtiaid, a gwrthwynebid hwynt ar eu ffordd gan Amelec, Og brenin Basan, &c. Eithr gwelai Moses yn ei Arglwydd y Pen-rhyfelwr galluog i ddyrnu y mynyddoedd â chacwn, ac i beri i un ymlid mil. Teimlai Moses fod addewidion dianwadal Duw Hollalluog yn cartrefu yn y wialen gariai yn ei law. Prin yr oedd plant Israel wedi cyraedd glàn y Môr Coch nad oedd yr Aiphtiaid yn dechreu aflonyddu yn nghylch eu hymadawiaid. Adeg o *test* neillduol i ffydd Moses oedd hwn. Yr oedd y môr mawr o'i flaen, Pihahiroth a Baal-sephon ar bob tu, a'r Aiphtiaid yn ymbarotoi i ymlid o'r tu ol. Eithr ni siglodd ffydd gŵr Duw. Credodd yn ffyddlondeb ei Arweinydd, er fod y bobl yn llefain yn ei wyneb wrth y miloedd. "Ai am nad oedd beddau yn yr Aipht y dygaist ni i farw yn yr anialwch? Paham y gwnaethost fel hyn â ni, gan ein dwyn allan o'r Aipht?" Ond yr oedd atebiad ffydd Moses iddynt yn barod, er nad oedd dim eto yn y golwg. "Nac ofnwch, sefwch, ac edrychwch ar iachawdwriaeth yr Arglwydd, yr hwn a wna i chwi *heddyw*, oblegid yr

Aiphtiaid, y rhai a welsoch chwi heddyw, ni chewch eu gweled *byth ond hyny.*" Hyn oll a ddywedodd Moses pan nad oedd dim yn weledig ond i lygad ffydd. "Yr Arglwydd," meddai, "a ymladd drosoch. Am hyny tewch chwi a sôn." Yna mae Moses, gyda ffydd yn ei galon, a'r wialen yn ei law, yn codi ei lef at yr Arglwydd. Ni chofnodir beth a waeddodd; dichon na wnaeth ond gwaeddi am y cynllun dwyfol o ymwared, oblegid yr oedd y sefyllfa uwchlaw dirnadaeth ddynol. Eithr gwobrwywyd ei ffydd yn ddioedi, oblegid dywed yr Arglwydd, "Paham y gwaeddi arnaf, dywed wrth feibion Israel am gerdded rhagddynt. A chyfod dithau dy wialen, ac estyn dy law ar y môr, a *hollta* ef, a meibion Israel a ânt trwy ganol y môr ar dir sych." Mae y Penrhyfelwr ar unwaith yn gosod ei gynllun mewn gweithrediad—yn gorchymyn i'r angel oedd yn arwain, a'r golofn niwl oedd o'r tu blaen, symud i'r tu ol, rhyngddynt a'r Aiphtiaid; ac yr oedd yr ochr at yr Aiphtiaid yn dywyll, a'r ochr at feibion Israel yn oleu. Yna mae Moses yn estyn ei law ar y môr, a'r Arglwydd yn gyru y môr yn ei ol trwy ddwyreinwynt cryf ar hyd y nos. Ah! dyma ddernyn o beirianwaith na ellir ei ddynwared byth gan athrylith ddynol. Mae dynion wedi gallu gwneuthur *canals* o ddwfr trwy dir sych, ond dyma yr Arglwydd wedi gwneuthur *canal* sych trwy fôr cynhyrfus. Ond yn fuan wedi i feibion Israel ymsymud trwy ganol y môr, mae yr Arglwydd yn gweled yr Aiphtiaid yn ymlid ar eu hol, ac Efe "a *edrychodd* ar yr Aiphtiaid trwy y golofn dân," ac mae rhyw nerth ofnadwy yn edrychiad Duw. Efe a edrychodd nes yr oedd olwynion eu cer-

bydau yn neidio oddiar eu hechelydd. Dyma'r rhybudd iddynt ei fod yn dyfod yn ei ryferthwy. A daeth yr Aiphtiaid i ddeall y rhybudd, oblegid dywedasant, "Ffown oddiwrth Israel, oblegid yr Arglwydd sydd yn ymladd drostynt yn erbyn yr Aiphtiaid." Ond mae yn rhy hwyr i dynu yn ol, oblegid mae yr Arglwydd wedi tori eu *retreat* am byth. Yn fuan aeth y gair i'r *front* yn hyspysu am ddinystr yr Aiphtiaid, yr hyn a lanwodd wersylloedd Israel â gorfoledd a chân. Yr oedd yno "gôr meibion" yn cael ei arwain gan Moses, a "chôr merched" yn cael ei arwain gan ei chwaer Miriam, yr hon, gyda'i thympan, oedd yn cadw y merched mewn *tune*—gwaith digon anhawdd yn fynych. Erioed ni chlywyd mwy o ganu â'r yspryd na'r adeg ryfedd yma. A beth bynag am y gerddoriaeth, yr oedd yr emynau yn y ddwy gân yn odidog iawn—yn gymaint felly ag i gael eu diogelu yn y Canon ysprydoledig i holl oesau y byd. Fel hyn y gorchfygodd Duw elynion ei bobl. Ac yn yr ymdaith i'r anialwch, sicrhaodd Duw iddynt fuddugoliaethau i'r graddau yr ufuddhaent i'w orchymynion Ef. A bu yn ffyddlon i ymladd eu brwydrau hyd nod mewn adegau o anffyddlondeb ar eu rhan hwy.

Mae'r Arglwydd yr un bob amser i'w bobl. Ni chollodd ei bobl eu brwydrau erioed tra yn ffyddlon i'w Harglwydd. Gwir i Gristionogaeth golli meddiant a gafael ar wlad yr addewid, eithr ni chymerasai hyny byth le pe buasai yr Eglwys gyntefig wedi cadw ei phurdeb a'i ffyddlondeb i egwyddorion a bywyd ysprydol yr efengyl, fel ei dysgir yn y Testament Newydd. Fe gollodd yr eglwys ei Duw cyn colli ei

gwlad. Nid oes dim gwanach na Christionogaeth lygredig, eithr mae Cristionogaeth bur yn anorchfygol yn ei pherthynas â'r byd. Y gelyn sydd yn dod i mewn fel afon, ac nid y gelynion sydd yn ymosod oddiallan sydd yn peryglu bywyd gwledydd Cristionogol. Mae llygredigaeth pabyddol yn graddol fwyta i fyny fywyd y Spaen, Itali, a Ffrainc. Fe wna yr un peth yn Mhrydain Fawr mewn amser, oddieithr i ni ymegnïo i adnewyddu crefydd ysprydol bur yn y tir. O! pa bryd y daw trigolion Prydain i sylweddoli yn fwy cyffredinol mai ffyddlondeb i Arglwydd Dduw Israel ydyw amod fawr gwir lwyddiant? Mae lle cryf i ofni ein bod yn y peth hwn mewn cyflwr dirywiedig.

III.—Fod ffydd yn Nuw yn gwroli i feddiannu goreu y byd arall.

Yr oedd Moses yn "edrych ar daledigaeth y gwobrwy." Ac nis gallwn foddloni ar y syniad mai manteision tymhorol y Ganaan ddaearol oedd yn unig, nac yn benaf, gerbron ei lygaid. Diau fod ynddo ryw syniad a dyhead am gyflwr gogoneddusach na holl fri, anrhydedd, a phleserau breiniol yr Aipht. Mae'n dra phosibl fod y dyheadau *(aspirations)* lanwai ei yspryd, yn saethu yn llawer uwch na'i amgyffredion am y sefyllfa oruchel hono. Ond mae'n sicr y llenwid ei enaid â hiraeth am rhyw fawredd annirnadwy. A phe amgen, mae'n sicr fod bywyd Moses yn fethiant a siomiant; oblegid ni chaniatawyd iddo fyned i mewn i'r wlad ddaearol, oedd yn llifeirio o laeth a mêl, o gwbl. Eithr mae genym bob sicrwydd iddo gyraedd i'r Ganaan nefol.

Os cymerwyd ef o'r ddaear oddiar fynydd, mewn modd sydyn a dirgelaidd, ni a'i cawn yn ymddangos ar fynydd arall, mewn gogoniant mawr. Mae'n ymddangos ar Fynydd y Gweddnewidiad fel Llys-genadydd dros ei oruchwyliaeth ei hun, i fyned trwy ryw oruchwyliaeth bwysig gyda Thywysog y Bywyd. Wedi dadfantellu ei hun o'r gogoniant nefol, mae'n cael ei lapio yn mhlygion gogoniant y Gwaredwr mawr ; a methai benderfynu pa fwyaf y gogoniant a adawodd ynte y gogoniant y daeth iddo ar y mynydd. Pa fodd bynag, er mai oherwydd cymeryd y rhaglen yn ei law ei hun gyda tharo y graig y bu raid iddo farw yn y mynydd cyn croesi'r afon am Wlad yr Addewid, mae hyn yn ddigon o brawf iddo gyraedd i safle o anrhydedd mawr yn y Ganaan nefol. Ac yn ddiddadl yr oedd rhyw awyddfrydau angerddol am ryw gyflwr goruchel tuhwnt i'w ddirnadaeth ef ei hun yn ei lanw ar hyd ei fywyd. Mae dyheadau pob dyn gwir ddifrifol yn cyraedd yn llawer uwch na'i amgyffredion. Chwenychodd y prophwydi, a llawer o rai cyfiawn, weled y pethau a welwn ni, ac nis gwelsant, a chlywed yr hyn glywn ni, ac nis clywsant. I lawer yn Nghymru, mae holl wirioneddau yr efengyl yn ddatguddiedig, eithr yr awyddfrydau amdanynt yn cael eu gwanhau a'u hedwino gan anghrediniaeth a chyndynrwydd. Eithr yr oedd chwenychiad Moses yn llawer mwy na'i welediad, fel ag yr oedd ei ffydd yn golygu, nid yn unig weled yr Anweledig i lygaid ei gorff, eithr hefyd i lygaid ei reswm. Mae'n ddiau yr atdynid ei enaid gan y wobrwy fawr hon yn nechreu ei fywyd. Fel un yn byw yn wastadol dan ddylanwad ffydd yn y

Duw anweledig, mae'n sicr ddarfod i'w fam ardderchog ddiwyllio ei feddwl a'i galon yn nghyfeiriad y dwyfol a'r ysprydol. Dywed Josephus ddarfod i Pharaoh roddi coronbleth o arian ar ei ben, gan awgrymu, trwy hyny, y byddai coron yr Aipht ar ei ben ryw bryd ; eithr mae y plentyn, er nad ond chwe' mlwydd oed, yn ei chipio ymaith, gan ei tharaw ar y llawr, nes oedd yn chwilfriw, i awgrymu mai nid yn yr Aipht, eithr mewn amgen lle, ac amgen cyflwr, yr oedd am dreulio ei ddyfodol. Mae atdyniad y sefyllfa ogoneddus oedd yn ei aros yn cryfhau fel mae'n nesâu ati, a rhyw ddiwrnod, mae'n myned mor agos at y *magnet* mawr nes cael ei dynu i fyny yn dawel, sydyn, ac annisgwyliadwy i'r byd ysprydol, i fyw bellach yn nghanol mawredd a gogoniant anfeidrol uwchlaw a ddychmygodd erioed.

Mae pob gwir gristion yn teimlo nerth atdynol y wlad hono wrth deithio yn mlaen trwy anialwch y byd hwn. Ac fel y mae yn dynesu at y maen tynu anfeidrol mae'r atdyniad yn cynyddu yn barhaus. A phan mae y sant yn ymyl terfyn y daith, mae'n ymdeimlo âg atdyniad cynyddol ac arbenig. Hyfrydwch penaf bywyd yn y byd hwn ydyw cael dylanwadu arno yn hudolus gan sylweddau y byd ysprydol. Byddai Mr. Moody yn alluog i dystiolaethu ei fod weithiau yn cael ei aflonyddu gan "*home sickness for heaven.*" Ac O ! beth sydd mor fendigedig a hyn a geir ar y ddaear. Ac onid yw rhai ohonom yn gweled gogoniant Tywysog y nef, ac yn clywed llais y Bugail da, ac yn arogli perarogledd y gerddi tragwyddol ar daith yr anialwch ?

Peraroglau gardd Paradwys,
  Disgyn ar fy egwan ffydd,
A hiraethu am fyn'd yno
  Mae fy enaid nos a dydd.
Teimlo'r ydwyf atdyniadau
  Gwlad yr hedd ar f' enaid gwan;
Ganaan nefol, dal i dynu
  Nes im' ddod yn glir i'r làn.

Nerth atdynol y wlad hono
  Ydyw Crist a'i gariad rhad;
Dacw Fe yn llawn gogoniant
  Ar ddeheulaw claer ei Dad;
Wrth im' edrych mae'n fy nhynu
  Trwy fy llygad ato'n lân,
Wrth im' wrando mae'n fy nhynu
  Trwy fy nghlyw at wlad y gân.

O Baradwys, dal i dynu,
  Llacia ngafael ar y byd;
Dal i dynu nes im' ddyfod
  Mewn i'r wlad lle mae fy mryd;
Yna, mi gâf drigo yno,
  Rhodiaf lwybrau'r nef mewn gwŷn;
Canaf, molaf, byth heb dewi,
  'Rhwn fu farw ar y bryn.



# MAWREDD CARIAD DUW TUAG AT DDYNION.

"*Canys felly y carodd Duw y byd, fel y rhoddodd Efe ei unig-anedig Fab, fel na choller pwy bynag a gredo ynddo Ef, ond caffael ohono fywyd tragwyddol.*"

IOAN iii. 16.

DYRY y bennod hon olwg ar Iachawdwriaeth dyn yn ei ffrwyth, ei threfn, a'i tharddle—ei ffrwyth *yn* y dyn, ei threfn *trwy* Grist, a'i tharddle *yn* Nuw. Mae'n dod i ddyn trwy Grist o Dduw. Y ffrwyth yn y dyn ydyw adenedigaeth. "Oddieithr geni dyn drachefn (neu oddifyny), ni ddichon efe weled (neu fyned i mewn), i deyrnas Dduw." Rhoddir golwg ar adenedigaeth fel bendith bersonol—"geni dyn;" ac fel cymwysder cymdeithasol—"ni ddichon efe fyned i mewn i deyrnas Dduw." Gosodir y fendith gerbron hefyd, trwy y gymhariaeth o wynt, yn ei sicrwydd ymwybyddol, ac yn ei dirgelwch—yn ddeiliadol deimladwy fel y gwynt, ac yn ddirgelwch yn ei foddau fel y gwynt.

Mae y drefn trwy Grist drachefn yn gorphoredig yn ei ymgnawdoliad a'i farwolaeth Iawnol. Mae'n ymgnawdoliad Duw. "Ac ni esgynodd neb i'r nef, eithr yr hwn a ddisgynodd o'r nef, sef Mab y dyn yr hwn sydd yn y nef." Amlygai ei hun fel *ar y* ddaear, a datganai ei fod ar yr un pryd *yn y nef;* ïe, fod Mab *y dyn* tra ar y ddaear hefyd yn y nef. Eithr nis gallasai fod yn y nef

fel Mab y dyn yn *unig*, eithr trwy fod hefyd yn *Fab Duw*. Mae hefyd yn farwolaeth Iawnol. "Ac megis y dyrchafodd Moses y sarph yn y diffaethwch, felly y mae yn rhaid dyrchafu Mab y dyn; fel na choller pwy bynag a gredo ynddo Ef, ond caffael ohono fywyd tragwyddol." Diau y golygir yma ddyrchafiad Crist ar y groes fel Iawn, a'i ddyrchafiad trwy weinidogaeth y Gair a'r Yspryd Glân.

Dysgeidiaeth bwysig y testyn ydyw *Cariad Duw fel tarddle yr oll.* Mater y testyn, gan hyny, ydyw

MAWREDD CARIAD DUW AT DDYNION. "*Felly* y carodd Duw," &c.

Dywedodd un awdwr fod sylwedd gwirioneddau mwyaf yr Ysgrythyr yn yr adnod hon, a dywedwn ninau fod sylwedd yr adnod yn y gair "*felly*." Rhyw air rhyfedd ydyw hwn: gall gynwys y bychander lleiaf am y mawredd mwyaf. Mae i'r temig lleiaf o fater ei "felly," i'r angel mawr a glân ei "felly," ac i'r Duw anfeidrol ei "felly." Genym ni nid yw ond gair llanw, pan fyddwn heb *ddim* i'w ddyweyd, ond yn y testyn cynwysa anfeidrol gariad: "felly y carodd—y carodd Duw." Eithr pa felly? Carodd Duw y byd—"felly." Carodd Duw y byd fel y rhoddodd ei unig-anedig Fab —"felly." "Rhoddodd ei unig-anedig Fab fel na choller, ond caffael ohono fywyd tragwyddol"—"felly." "Fel na choller pwy bynag a gredo"—"felly." Mae y "fel" hwn drachefn fel gwas ffyddlon yn cludo y cwbl i'w feistr felly—"fel y rhoddodd"—"fel na choller." O! mae rhyw anfeidroldeb yn y gair hwn, ac mae ynddo ystyr bwysig nas gallwn ond dywedyd mewn syndod a

gorhoender—"*felly*—FELLY y carodd Duw y byd." Eto, mae'n eglur fod y gwirioneddau gogoneddus a ddysgir yn y testyn yn cael eu dwyn i mewn yma i'n cynorthwyo i weled a gweithio yn nes at galon gariadlawn Duw cariad, ac i sylweddoli ynom ein hunain guriadau ei galon bur a thyner.

Mae goleuni yn cael ei daflu ar gariad Duw o bedwar cyfeiriad. Nodwn yn

I.—GOLEUNI Y BYD AR GARIAD DUW.

"Felly y carodd Duw y byd."

Y gofyniad a gŵyd yn naturiol yma ydyw, beth sydd yn y "byd" yn egluro neu arddangos mawredd cariad Duw? Nid yw yn goleuo—yn egluro—yr un ffurf ag y gwna yr haul, neu y nwy, neu y ganwyll; eithr fel yr eglura *canvas* priodol y darlun sydd wedi ei dynu arno. Pe buasai y *canvas* o'r un lliw yn hollol a'r darlun, ni buasai yn dangos y darlun, eithr ei guddio yn ei fynwes ei hun. Os o liwiau trymion y gwneir y darlun, dylai y *canvas* fod yn oleu, ond os gwŷn ydyw y darlun, dylai y *canvas* fod o liw tywyll a dwfn. Yn gyffelyb i hyn mae y byd pechadurus, du, yn egluro cariad gwŷn y Duw mawr tuag ato. Mae y dwyfol gariad yn ymddatblygu yn ei weithrediad ar yr elfenau anatdyniadol a gwrthdarawol sydd yn nghymeriad dyn—y dyn cyffredinol fel troseddwr yn erbyn Duw. Fel creadur mawr gallwn amgyffred paham y gallasai Duw, ei Greawdwr, deimlo dyddordeb mewn dyn, eithr fel pechadur mawr, mae mewn gwrthdarawiad hollol â chymeriad Duw—mor annhebyg i Dduw ag sydd bosibl. A dyma lle yr amlygir

mawredd a nerth cariad yn yr ymarferol ag sydd ddirgelwch hollol yn ei ysgogiadau mewnol, i galon lygredig. Mae caru gwrthddrych heb atdyniad ynddo yn ymwybyddiaeth mewnol hollol ddieithr i'r galon ddynol, ar wahân i gyffyrddiad o eiddo Duw trwy sancteiddiad yr Yspryd Glân. Mae gallu hunan-ysgogol yn wirionedd datguddiad yn unig, ac mae cariad hunan-ysgogol yn wirionedd datguddiad mewn modd neillduol iawn. Ni raid i bob dyn, yn ei gyflwr syrthiedig, ond ymwrando ar ei galon ei hun na chanfydda fod y cyfrif am bob ymserchiad o'i eiddo i'w gael yn mhrydferthwch, neu atdyniad gwrthddrychau ei serch. Mae yn eu caru am fod ynddynt ryw elfenau yn cyd-daro â'i natur a'i chwaeth ef ei hun. Teimla y fam, yn ei pherthynas â'i phlentyn, fod ei serch nid yn unig yn cael ei roddi yn gymaint, eithr yn cael ei gymeryd. Mae yn ei garu am nas gall beidio. Erys yr atdyniad yn yr *affinity* rhyfedd a fodola rhyngddynt. Eithr mae pob elfen foesol ac ysprydol sydd yn nghymeriad y byd dynol syrthiedig yn ymdaro yn erbyn cymeriad pur a sanctaidd Duw. Er hyny, "carodd Duw y byd." Dyma gwmpawd yn cyfeirio ei nodwydd, nid i'r gogledd, lle y mae atdyniad, eithr i'r dehau, lle nad oes atdyniad. Dyma fôr o gariad yn aflonyddu, ymgynhyrfu hyd storom sydd yn lluchio ei dònau brigwỳn ar filiynau o eneidiau, heb yr un lleuad na gwynt oddiallan i effeithio arno. Dyma fôr eangfawr âg achosyddiaeth ei gynhyrfiadau bendigedig yn ymgodi ohono ei hun. Nid yw ei lanw parhaus yn cael ei dynu, eithr ei wthio gan rhyw elfen hunan-egnïol o'i eiddo ei hun. "Felly y carodd Duw." Ni a wyddom, fel pechadur-

iaid, oddiwrth yr hyn a wnaeth Duw i'r byd, ei fod yn gallu caru gwrthddrychau anatdynol: eithr nid oes gan bechadur annychweledig unrhyw brofiad sydd yn ei alluogi i ddeall nerth mewnol y cariad hwn. Nis gellir, gan hyny, ddatgan dim eglurach iddo ef na "felly y carodd Duw." Ond mae y bobl sydd wedi derbyn sancteiddiad calon wedi cyfranogi o'r cariad hwn ag sydd yn gweithio ei hun ar fyd pechadurus. Beth ond cyfraniad iddynt o'r cariad "felly" fuasai yn peri i Paul, Luther, Wesley, Whitfield, Carey, Hunt, Percy, ymaberthu yn hollol ar yr allor er codi byd drwg a hollol lygredig? Pa atdyniad allai fod, mewn gwledydd paganaidd ac anwaraidd, i ddynion wedi eu dwyn i fyny yn nghanol gwareiddiad Prydeinig? A pha gyfrif naturiol ellir roddi dros fod chwiorydd crefyddol yn bresenol—chwiorydd o ddygiad i fyny da, a pharchus a diwylliedig, yn treulio cyfnod goreu eu hoes, yn *alleys*, *courts* aflan, ac isel-leoedd y trefi mawrion, ond eu bod wedi derbyn delw y Duw a garodd "felly" yn eu hysprydoedd? Y fath drugaredd i fyd syrthiedig fod Un, ynddo ac ohono ei hun, yn gallu caru gwrthddrychau'r anatdyniadol, oblegid yma yn unig yr oedd y gobaith lleiaf am adferiad dynion. Dyma ddirgelwch y posibilrwydd o hyny. Ac at hyn oll, y fath ogoniant sydd yn y ffaith y gall y Duw mawr, trwy ddarpariaethau ei gariad hunan-gynhyrfiol, gyfranu y cariad hwnw i ddynion. A diau mai esgeulustra yr eglwys i dderbyn y ddelw hon ydyw achos ei haflwyddiant ysprydol yn yr oes hon.

II.—Goleuni yr unig-anedig Fab ar gariad Duw.

"Fel y rhoddodd Efe ei Unig-anedig Fab."

Wrth adael i'r goleuni hwn ymuno â'r goleuni deflir gan bechadurusrwydd a thrueni y byd syrthiedig, ymddengys y dwyfol gariad yn dra gogoneddus. Nodwn

(1) *Fod yr unig-anedig Fab yn rhodd fwyaf Duw i fodau drwg, anhaeddiannol a gwrthryfelgar.*

Mae y rhodd leiaf i fodau drwg ac annheilwng yn arddangos mwy o'r cariad hwnw, sydd yn tarddu o gymeriad moesol ac ysprydol, na'r rhodd fwyaf i'r sawl y mae eu swyn a'u prydferthwch yn rhoddi cyfrif llawn am y cariad ei hun. Dyna foneddwr cyfoethog yn gwneyd ei ewyllys, gan adael can' mil o bunau i'w blant; ond tua diwedd yr ewyllys gwelir fod ugain punt wedi eu gadael i un a ystyrid ei elyn penaf yn yr un ardal. Mae mwy o'r cariad ag sydd nodwedd mewn cymeriad moesol ardderchog, yn angenrheidiol i adael ar ei ol yr ugain punt hyn, nag sydd angenrheidiol i adael ar ei ol y can' mil punau i'w blant. Nid yw yn orchest i'r cyfoeth ddilyn y serch; a chan mai y plant, oherwydd eu dymunoldeb i'r tad, gynyrchasant y serch, hwynthwy hefyd dynasant allan y rhodd fawr; eithr yn yr achos arall, mae y serch a'r rhodd yn rhwym o darddu o ryw nerth godidog sydd yn nghymeriad y rhoddwr. Yn gyffelyb i hyn, buasai y rhodd leiaf o eiddo Duw i ddynion pechadurus yn arddangos mwy o gariad hunanegnïol Duw na'r rhodd fwyaf i'r angelion pur, sanctaidd, a llawn atdyniad. Ond mae y ffaith i Dduw gyflwyno y rhodd fwyaf yn bosibl, er mwyn gwrthddrychau drwg a llygredig, yn ein dwyn i bresenoldeb cariad sydd uwchlaw pob dirnadaeth mewn mawredd a gogoniant. "Rhoddodd ei *Fab*"—y Mab ogymaint ac ogyfuwch â'r

Tad—y Mab *yn* yr hwn yr oedd y Tad, fel ag yr oedd yntau yn y Tad. "Yr wyf fi," meddai, "yn y Tad, a'r Tad ynof finau." Os dywed neb fod y Mab yn llai na'r Tad *am* ei fod ynddo, rhaid iddo hefyd addef fod y Tad yn llai na'r Mab *am* ei fod ynddo yntau. Yn mherthynas y Tad a'r Mab, yn gystal a'r Yspryd Glân, y mae *mwy*, *ogymaint*, a *llai*, yn golygu yr un peth. "Myfi," meddai, "a'r Tad *un* ydym." "Y neb a'm gwelodd i a welodd y Tad." Mae holl gyflawnder personol a sylweddol y Duwdod yn preswylio ynddo Ef, nid mewn effeithiad, eithr "yn gorfforol" yn ei sylwedd cyflawn. A'r Mab hwn—un â'r Tad—eglurydd personol holl ogoniant y Duwdod—disgleirdeb llachar holl gyfanswm diderfyn goleuni a gogoniant dwyfoldeb perffaith—ydyw y rhodd i ddynion colledig. O! beth allwn wneud gerbron yr olygfa hon? Dim ond dywedyd mewn syndod llesmeiriol, "Felly y carodd Duw!"

(2) *Fel y rhodd fwyaf yr oedd o angenrheidrwydd yr Unig rodd o'r natur allasai Duw gyflwyno.* "Fel y rhoddodd ei unig-anedig Fab."

Ni wnaethai rhodd lai y tro, ac nid oedd gan Dduw rodd arall gyfartal i'w chyflwyno. Dyma yr unig Fab genedlwyd yn yr heddyw diddechreu a diddiwedd. Dyma'r Un sydd â'i Fabolaeth yn ogyfoed â Thadolaeth y Duwdod. Mae y Dadolaeth ddwyfol yn dragwyddol, ac felly mae y Fabolaeth ddwyfol yn dragwyddol. Fel y cyfryw y mae yn unig-anedig Fab Duw. Dyma'r unig rodd ddigonol; ac os dywedir ei bod yn fwy na digon, rhaid dyweyd ei bod yn fwy na digon i'w dewis o angenrhaid yn lle rhodd llai na digon; oblegid buasai

pob rhodd feidrol yn llai na digon, a rhaid oedd cyflwyno rhodd anfeidrol. Mewn ystyr bwysig, gan hyny, mae Duw wedi rhoddi o'i brinder—"yr unig-anedig Fab." Dywed un awdwr galluog fod yr Efengylau wedi dwyn i'r golwg reol newydd o rifyddiaeth, sef ein bod i farnu cariad a haelfrydedd, nid oddiwrth beth mae un yn ei roddi, eithr oddiwrth yr hyn sydd yn aros ar ol rhoddi. A dyma lle y ceir *test* caled a manwl i benderfynu nerth yspryd hunan-aberthol. Pan wyliai Crist y bobl yn bwrw i'r drysorfa, gwelai rai yn rhoddi symau lled fawr, ond nid ymddangosai yn foddhaol iawn wrth syllu arnynt; eithr yn y man dyma wraig weddw dlawd yn dyfod, gan fwrw llai i'r drysorfa o bosibl na neb ohonynt. Wrth edrych arni mae ei wyneb bendigedig yn disgleirio a llewyrchu gan foddlonrwydd pur. Braidd na chlywaf rai ohonynt yn gofyn yn genfigenllyd, Paham yr wyt yn anrhydeddu hon, y rhoddydd lleiaf, â mwy o dy foddlonrwydd a'th gymeradwyaeth na neb ohonom? "Ah," meddai yntau, "ei gweled yn debycach i fy Nhad na'r un ohonoch yr ydwyf. Pan yr anfonodd, ac y rhoddodd y Tad *Fi*, nid oedd yno yr un Mab fel Fi i aros—yr unig Fab ydwyf; ac yr wyf yn hoffi y wraig hon am ei bod mor debyg i fy Nhad. Ni ddarfu i chwi fwrw ond yr hyn oedd yn ngweddill genych, 'ond hon o'i heisieu a fwriodd i mewn yr hyn oll a feddai, sef ei *holl fywyd*,' ac os ei *holl* fywyd, ei *hunig* fywyd. O! yr wyf yn gweled delw fy Nhad yn disgleirio yn ngwyneb y weddw dlawd hon." Dyma reol Duw i'w gariad ei hun, a dyma ei reol i gariad pawb sydd wedi dod dan holl driniaethau ei ras a'i Yspryd. "Felly y carodd Duw."

(3) *Rhoddodd Duw ei Fab i ddioddef a marw yn ein cnawd ni, i fod yn Aberth Iawnol dros ein pechodau ni.*

Nid talu ymweliad nawddogol *(patronizing)* â'r ddaear, i bery traul fawr i blant dynion yn y croesawiad iddo fel brenhinoedd daearol, wnaeth Mab y Brenin tragwyddol, eithr dyfod i lawr o'i safle o anrhydedd anfeidrol yn y nef i'n cnawd a'n natur ni, ac yn ein natur i "iselderau y ddaear," ac yn "iselderau y ddaear" i ddioddef a marw yn ein lle ni. Yn yr ymgnawdoliad, mae y Duw y pechasom yn ei erbyn wedi dod i'n hymyl ni—i gyraedd galw a gafael; ac yn y farwolaeth Iawnol mae wedi gwneud posiblrwydd anrhydeddus i ninau fyned i gymundeb cyfamodol âg Ef. Yn yr hyn oll ag ydyw ac a wnaeth, mae Crist yn llenwi y gwagle poenus oedd rhwng "iselderau y ddaear" ac "uchelderau y nefoedd" —rhwng y pechadur damniol a'r Duw cyfiawn. Ac er sicrhau amcan mawr y dwyfol gariad tuag at ddynion, yr oedd yr holl ymddarostyngiad, a'r dioddef, a'r marw gwaradwyddus, yn angenrheidrwydd hollol, ac nid damwain ei amgylchiadau ar y ddaear. Y fath nerth anamgyffredadwy o gariad at bechaduriaid oedd yn angenrheidiol i anfon yr unig Fab gwir freiniol—nid i nawddogi dynion, eithr i ddioddef pob gwawd, dirmyg, edliwiadau, dirdyniadau corfforol, beichiau meddyliol, ac yn y diwedd farwolaeth fel troseddwr cyhoeddus, yn nghanol troseddwyr cyhoeddus, ac o dan gawodau o gabledd y sawl y dioddefai drostynt. O! nid oes genym yma ond llefain eto mewn syndod, "Felly y carodd Duw y byd."

(4) *Rhoddodd Duw i ddioddef a marw yr unig-anedig Fab a garai yn anfeidrol.*

"Hwn," meddai, "yw fy anwyl Fab, yn yr hwn y'm boddlonwyd." Meddai y lle uchaf yn serchiadau a meddwl ei Dad. Mae Crist mor ogoneddus nes tynu allan nerth ac yni mwyaf y galon ddwyfol. Pan y mynai Duw ei ddryllio Ef, mynai hefyd ei garu gydag angerddolrwydd anfeidrol. Pan y gadawodd Ef i riddfan, a myned dan y fath faich o dristwch yn yr ardd, nes i'w chwys ddisgyn oddiwrtho fel dafnau gwaed—pan drodd ei gefn arno, ac y gadawodd Ef ei hunan i ymladd â byddinoedd y tywyllwch, ac i gyfarfod hawliau y llywodraeth ddwyfol, ac ingoedd angau—y pryd hwnw yr oedd cefnfor anfeidrol cariad y Tad at y Mab mewn cynwrf annesgrifiadwy,—y pryd hwnw sibrydai y Tad ynddo ei hun—"Hwn yw fy anwyl Fab, yn yr hwn y'm boddlonwyd." Paham gan hyny y gadawodd y Tad y Mab, a garai mor fawr, yn nghanol y fath warth, dirmyg, trallod, erledigaeth, a dioddefiadau? Paham y gadawyd Ef ei hunan, heb neb o'r bobl gydag ef, yn nghanol corwyntoedd a thymestloedd daear ac uffern? Pa fodd y mae deall y Duwdod mawr fel un da, a chyfiawn, a chyson âg Ef ei hun, yn ngwyneb y ffeithiau rhyfedd hyn? Nid oes genym ddim i'w gyflwyno mewn atebiad, ond "Felly, felly y carodd Duw y byd!"

(5) *Mae yr unig-anedig Fab yn rhodd ("gift") i bwy bynag a'i derbynio.* "*Rhoddodd* ei unig-anedig Fab."

Nid benthyg ydyw y Mab i'r neb a gredo, eithr rhodd unwaith ac am byth. Pwy bynag sydd wedi derbyn y Mab fel Gwaredwr cyflawn, ni raid iddo ofni y daw y

Tad i'w geisio yn ol byth. Benthyg ydyw holl bethau daear—cyfoeth, pleserau, perthynasau, cyfeillion, iechyd, a bywyd yn eu ffurf presenol, ïe, hyd nod lawer o elfenau dymunol a manteisiol yn y byd crefyddol. Dyna ydyw holl weision Duw—yn weinidogion, blaenoriaid, ac arweinwyr yr eglwysi; a'r tadau a'r mamau yn Israel; ac mae y Tad yn cymeryd y benthyg adref yn fynych. O! y llu o weision seraffaidd sydd wedi myned yn ol at yr Hwn a'u hanfonodd yn ystod y blynyddoedd diweddaf. Ond mae Meistr yr oll yn aros—rhodd dragwyddol ydyw i'w bobl. Mae "Crist ynddynt yn obaith o'r gogoniant," "Yn preswylio, ac wedi ei ffurfio ynddynt." Nid benthyg, eithr rhodd. I'r pechadur annychweledig yn unig y mae Efe hyd yma yn fenthyg. Bechadur, pe byddet farw yn awr, collet Grist am byth; nid yw eto ond benthyg i ti. O! cred ynddo yn awr, fel y delo y benthyg yn rhodd bersonol a thragwyddol i ti. Y fath gariad sydd yma yn rhoddi ei unig Fab, unwaith ac am byth i bechadur colledig. Buasai yn annhraethol fraint i ni gael ei fenthyg, ond beth ddywedwn yn yr olwg arno fel Rhodd? Dim ond "Felly y carodd Duw."

III.—Goleuni iachawdwriaeth bersonol ar gariad Duw.

"Fel na choller, . . . . ond caffael ohono fywyd tragwyddol."

Mae mawredd cariad Duw yn cael ei amlygu mewn iachawdwriaeth gyflawn pan yr ystyrir—

(1) *Mawredd y golledigaeth y gwaredir pechadur ohoni.* "Fel na *choller*."

Er nas gellir dyweyd fod pechadur ar goll o ran ei hunandeb *(identity)*, mae yr elfenau unol a chyd-doddol, sydd yn rhoddi gwerth ar ei fodolaeth, ar goll. Mae yn golledig yn ei berthynas â Duw--dim undeb a chymundeb â'r Llywydd mawr mewn serch nac amcan. Mae y pryfyn dibynol yn ceisio byw yn annibynol. Mae rhywbeth ar goll. Mae pechod wedi ysgaru rhyngddo â Duw, fel nad yw cymeriad Duw yn cael ei ddylanwad priodol arno. Mae hefyd yn golledig yn ei berthynas â chreaduriaid moesol da llywodraeth Duw. Mae ar goll i'w cymdeithas hwynt--dim *affinity* ysprydol rhyngddo â hwynt--dim archwaeth at eu bwyd, na blas ar eu geiriau na'u hymarweddiad hwynt. Drachefn, mae ynddo elfenau a'i gwna yn golledig i'w gyfoedion pechadurus yn y man. Yn y presenol, saif eu pleserau a'u cyfeillgarwch yn eu cyd-berthynas â phethau gwâg a darfodedig y byd hwn. Eithr collir y pethau hyn yn fuan, ac yna, byddant ar goll i'w gilydd am byth. Bydd pob cyd-darawiad wedi troi yn wrthdarawiad, a phob deniadaeth wedi troi yn edliwiaeth. Er yn yr un lle, ni byddant byth yn yr un yspryd. Nis oes cyfeillgarwch yn uffern —neb yn cerdded yn mreichiau eu gilydd, eithr pob un, yn ngrym hunanaeth anniwalladwy, yn ymladd yn erbyn pawb er ei fwyn ei hun, a phawb fel yntau—cymdeithas wedi ei dileu trwy yr holl wlad ofnadwy hono. Pawb yn bod, eithr pawb ar goll i'w gilydd. Unwaith eto,—mae mewn pechadur elfenau a'i gwna yn golledig *iddo ei hun*. Bydd ynddo, nid crynhoad, eithr gwrthdyniad galluoedd yr enaid am dragwyddoldeb. Bydd ei alluoedd yn ddychryn i'w gilydd, ac megys yn ceisio dianc

oddiar eu gilydd, ac eto yn gorfod cyd-aros mewn rhyw ymwybyddiaeth poenus ac ofnadwy. A phe gallent ddianc nid oes unlle i fyned, oblegid nid ydynt mewn cymod â'u cylchyniadau *(environments)*. Mae arnynt eu hofn—y cof ofn y gorphenol—y gydwybod ofn y Duw presenol; a threnga gobaith ar riniog y dyfodol. Mae pob peth dymunol oddimewn, ac oddiallan, ar goll—perffaith ddyryswch wedi dyfod ar berthynas y cyfaddasiadau a'r cylchyniadau. O! dyma golli ofnadwy! Ond mae y testyn yn amlygu cariad mawr Duw tuag atom, "Fel *na* choller." Mae *na* y dwyfol gariad yn waredigaeth lawn rhag y cyfryw golli. O! bechadur, dianc am dy fywyd i gysgod y "*Na* choller" bendigedig hwn.

(2) *Mawredd y bendithion a sicrheir.* "Ond caffael ohono fywyd tragwyddol."

Caffael sydd yma, ac nid colli; a chaffael y gwrthgyferbyniol i'r hyn a gollir—"caffael bywyd tragwyddol."

Y bywyd hwn ydyw undeb ysprydol yr enaid â Duw, â chreaduriaid moesol da, ac âg ef ei hunan—perthynas berffaith rhwng ei gyfaddasiadau a'i gylchyniadau. Galluoedd yr enaid yn rhedeg at, ac yn ymdoddi i'w gilydd—llon'd yr enaid o gynganedd, yr yspryd mewn *tune*, ac yn *concert pitch* y nefoedd ei hun. Mae y bywyd hwn hefyd yn dragwyddol—y bywyd a'r bwyd yn dragwyddol—"y bara a bery i fywyd tragwyddol." Mae cynaliaeth yr efengyl yn *nourishing* i dragwyddolrwydd y bywyd. Mor lawn o gysur i'r cristion ydyw enw y bywyd hwn, a'r sicrwydd ei fod yn llond ei enw. Caiff y corff hefyd feddiannu y bywyd hwn trwy yr adgyfodiad

gogoneddus yn y dydd diweddaf. Rhy wan i fyw ydyw ein pabell bridd yn awr, ond bydd yn rhy gryf i farw yn y man. "Bywyd tragwyddol."

IV. Goleuni ffydd ar gariad Duw.

"Pwy bynag a gredo."

Ah! meddir, rhywbeth bychan, syml, rhad, ydyw credu —dim ond ymddiried, edrych, gafael. Gwir, ond symlaf yr amod, mwyaf y goleuni a dafla ar y cariad a wnaeth beth mor fawr yn bosibl ar amod mor fychan. Dyna ddyn yn symud yr *handle*, dyna *American Steamer* anferth yn symud yn y fan. Dyna *handle* arall yn ysgwyd mewn *office* yn Liverpool, a dyna araeth fawr un o'n gwladweinwyr enwog yn cynhyrfu yr Unol Dalaethau yn mhen ychydig o oriau.

Flynyddau lawer yn ol, yr oedd craig fawr yn ymgodi yn yr afon rhwng New York a Brooklyn, a ymyrai â thrafnidiaeth, oddieithr ar y gor-lanw. Gelwid y lle yn *hell-gate*. Ond rhyw ddiwrnod, gwelodd boneddwr gynllun i symud ymaith y graig beryglus hono. Mae'n adeiladu *dam* i gadw allan y dwfr. Yna yn rhoddi mwnwyr i dori i lawr lawer o latheni, ac o'r *shaft* maent yn tori llawer o fynedfeydd trwy y graig i bob cyfeiriad. Wedi hyny, mae'n llenwi y cyfryw â thunelli lawer o bylor. Yna, mae'n gosod *electric wires* yn mhob un ohonynt, ac yn eu cyfuno â'u gilydd. Mae'n eu cymeryd yn ddigon pell i'r wlad o'r perygl, gan eu cydio wrth beiriant bychan trydanol. Eithr nid oes effeithiau wedi cymeryd lle eto. Ond yn y man, mae diwrnod gŵyl cyffredinol yn cael ei gyhoeddi yn New York a'r cylch-

oedd. Ymgasglai miloedd o amgylch y peiriant bychan, a miloedd mwy mewn pellter diogel, eithr yn ngolwg yr *hell-gate*. Ond pa weithred gyflawnwyd y diwrnod hwnw? Dim ond geneth fach chwe mlwydd oed y dyfeisydd yn gosod ei bys gwelw ar *fotwm* gwỳn oedd yn y peiriant, a dyna'r trydan i'r pylor, a'r pylor yn dryllio y graig, a'i thaflu hi a throchion y môr i'r awyr. Ac fel hyn y gorchfygwyd y *pyrth uffern* hyn. Ond paham yr oedd cyffyrddiad â *botwm* bychan yn cynyrchu y fath effeithiau? Ah! dod i gyffyrddiad â gwaith mawr a wnaed yn flaenorol ddarfu y gweithrediad syml hwn. Syml ydyw ffydd, ond mae'n dod i berthynas â darpariadau blaenorol anfeidrol athrylith a chariad Duw, ac felly yn arddangosiad neillduol ohono. Dyma ddaw i'r golwg yn y wraig a wellawyd o'r diferlif gwaed, wrth ddim mwy na chyffwrdd âg ymyl gwisg y Gwaredwr anfeidrol.

Yr ydym yn ofni fod anhawsderau ysprydol llawer pechadur yn codi o rhyw syniad fod credu yn rhywbeth mawr ac anhawdd. Na, y cariad ddarparodd sydd yn fawr, ac nid ein ffydd ni; ac mae perffeithrwydd y ddarpariaeth, o'i iawn ystyried, yn gwneud yn rhwyddach i gredu ac ymorphwys. Mae llawer yn ymladd am eu bywyd—rhai yn ymladd â'u llygredigaeth eu hunain, fel pe yn meddwl y gall yr hunan goreu orchfygu yr hunan gwaethaf; ac ereill yn ymladd mewn llefain cryf a dagrau â Duw, fel pe buasai braidd yn anfoddlon i achub. Nid oes eisieu ymladd, eithr credu a sylweddoli darpariaeth anfeidrol cariad fel digonolrwydd perffaith ar ein cyfer. Paid âg ymladd, bechadur tlawd, eithr ymostwng ger ei

fron Ef, edrych i fyw llygaid ei gariad Ef yn Nghrist, nes i ti deimlo y baich yn syrthio oddiar dy enaid trwy ei ymyriad grasol. Mae y cariad dwyfol yn cael ei *vexio* pan y ceisia y pechadur gymeryd dim o'r gwaith oddiarno, a bydd iddo gilio ymaith ar y pryd. "Pwy bynag a gredo," ac nid pwy bynag a ymladdo—y syml a'r hawdd, ac nid y caled a'r anhawdd, a gaiff ei gadw. Ymladdodd ac ymbenydiodd Luther ddigon, ond yn hollol ofer, ond y foment y credodd yn syml yn Nghrist rhyddhawyd ef unwaith ac am byth. A dyna ydyw ffydd—rhyw lygad sydd gan y pechadur, sydd yn ddim ynddo ei hun, i weled y ddarpariaeth rasol sydd yn bob peth, "*Felly*, FELLY y carodd Duw."



# Y CREADUR NEWYDD.

"*Gan hyny od oes neb yng Nghrist, y mae efe yn greadur newydd: yr hen bethau a aethant heibio; wele, gwnaethpwyd pob peth yn newydd.*"—2 COR. v. 17.

ATHRAWIAETH eglur yr Ysgrythyrau, a dysgeidiaeth lled gyffredinol yr eglwys, ydyw fod cristionogaeth yn gwynebu ar yr holl fyd, *am* y medda ddarpariaeth gyfaddasol a chyflawn ar gyfer pob dyn yn ddiwahaniaeth Crefyddau cenhedloedd, llwythau, neu bobloedd neillduol, ydyw crefyddau ereill, wedi eu ffurfio gan chwaeth ac arferion y bobl eu hunain. Maent i raddau pell yn gynyrch tir anniwylliedig, ac nid yn allu amaethyddol a diwylliol i'r tir hwnw. Maent fel chwŷn, yn tyfu heb eu planu. Eithr y mae cristionogaeth bur, tra heb fod yn gynyrch yr un genedl, eto yn gyfaddasol i bob cenedl, gan nad beth fyddo eu neillduolion gwahanol ac amrywiol. Wedi efrydu yn ddyfal dueddiadau a nodweddion llwythau anwaraidd a alwai yn Fugeaid, mae Darwin yn dadleu yn aiddgar eu bod islaw dylanwad unrhyw allu gwareiddiol. Ceir iddo ddatgan ei syniad i genadwr, aethai i'w gwlad hwynt yn ddilynol i ymchwiliadau y gwyddonydd enwog. Eithr wedi derbyn desgrifiad y cenadwr o'r cyfnewidiad yn ngwareiddiad a bywyd y bobl hyny, mae Darwin yn cael ei lenwi â syndod, a chyda llawenydd yn cyfranu *pum punt* at y cyfryw genadaeth. "Efe a fu farw dros *bawb*, fel na

byddai i'r rhai byw fyw mwyach iddynt eu hunain, eithr i'r hwn a fu farw trostynt."

Eithr cwyd y cwestiwn yma—pa fodd y mae cristionogaeth bur yn gyfaddasol i bawb, o bob tueddfryd, chwaeth, ac arferion? Beth ydyw athroniaeth y cyfaddasder perffaith hwn? A pha fodd yr ymgymwysa i'r oll? Nid am fod ynddi elfenau cymysgedig, o dda a drwg, i gyfarfod rhyw ofynion cymysgedig yn y natur ddynol. Nid am fod ynddi borthiant i falchder y naill, i gybydd-dod y llall, i anlladrwydd y trydydd, i anonestrwydd a thwyll y pedwerydd, &c. Pe felly, cristionogaeth fuasai y gallu cryfaf mewn bod i suddo y byd i drueni diddiwedd. A'r ffurf hwn i ymgyfaddasiad ydyw ffynonell llygredigaeth a melldith bersonol a chymdeithasol pabyddiaeth.

Pa fodd, gan hyny, mae yn gymwys i bawb? Ceir yr atebiad yn y testyn, a'r cyd-destynau. Mae'n cyfarfod angen pawb, am fod ynddi allu dwyfol i *greu* pawb o'r newydd. Nid creu darpariaethau cymysgedig i gyfarfod âg archwaethau gwahanol plant dynion; eithr creu dynion o'r newydd ar yr un *plan*, ac yn y meddiant o organau ysprydol cyffelyb, a thrwy hyny feddu archwaeth at yr un bwyd ysprydol. Dyma, debygwyf, a ddysgir yn nghysylltiadau y testyn.

Amcan eithaf marwolaeth Crist dros bawb ydyw i'w cael i fyw, nid iddynt eu hunain, eithr i'r hwn a fu farw trostynt. Ac mae pawb sydd yn byw i'r hwn fu farw dros bawb, yn dod yn *ddynion pawb*—teulugarwch a gwladgarwch yn cael eu llyncu i fyny a'u goddeithio yn nhân angerddol *dyngarwch*. "Am hyny, nyni o hyn allan

nid adwaenom neb yn ol y cnawd; ac os buom hefyd yn adnabod Crist yn ol y cnawd, eto yn awr, nid ydym yn ei adnabod Ef mwyach." Cyn ei ddychweliad at gristionogaeth, nid oedd yr Apostol Paul yn adnabod Crist ond yn ol y cnawd—yn ol ei genedl ei hun. Eithr wedi dod i fyw yn Nghrist, daeth pawb y bu Crist farw drostynt yn wrthddrychau ei ddyddordeb angerddol yntau. A'r modd y daeth ef a phawb a dderbyniasant yr Iesu i'r cyflwr ardderchog hwn, oedd trwy gael eu "*creu* o'r newydd" ynddo Ef, a thrwy hyny i hoffi yr un gynaliaeth ysprydol. "Od oes neb yn Nghrist, y *mae* efe yn greadur newydd," &c.

Mae dau wirionedd mawr yn cael eu dysgu yn y testyn.

I.—Fod yr hwn sydd yn Nghrist yn dod yn greadur newydd.

"Od oes neb yn Nghrist, y mae efe yn greadur newydd," &c.

Mae Duw yn Nghrist, a Christ trwy yr Yspryd Glân, a'r Yspryd Glân trwy gariad anfeidrol y Tad, a thrwy haeddiant Iawnol y Mab, yn greawdwr mewn rhyw ystyr newydd ac arbenig.

Pan y mae pechadur yn credu yn Nghrist, fe ddywed y Drindod mewn effaith yn y dechreuad hwn, fel yn nechreuad yr hiliogaeth, "Gwnawn ddyn ar ein llun a'n delw ein hun." Mae'n rhaid i Waredwr dyn fod yn greawdwr, am y rheswm fod y fath allu yn angenrheidiol er gwneud *creadur newydd*.

Nid yw y term *creu* yn y Beibl yn golygu, o angen-

rheidrwydd, wneud o ddim. Ni olyga fwy na bod creadur, neu greaduriaid newydd, yn dod i fôd. Ni olyga chwaith ei fod yn greadur *gwreiddiol* hollol o ran cynllun. Ni olyga fwy na bod y Creawdwr yn rhoddi allan yni er dwyn i fôd greadur tebyg, neu annhebyg, i bob un arall. Ni chrewyd yr oll o greaduriaid y chwe' diwrnod o ddim, eithr ymddangosai creaduriaid newydd-ion o hyd. Gwnaed goleuni mewn rhyw ffurf y dydd cyntaf, ond y pedwerydd dydd y gwnaed yr haul a'r lleuad ; eto yr oedd y ddau oleuad yn greaduriaid *newydd*. Gwnaeth Duw sychdir o flaen llysiau a ffrwythau, ond yr oedd y ffrwythau yn greaduriaid newydd—ni buasent byth yn tyfu heb i Greawdwr wneud hâd. Gwnaeth Duw foroedd ar y trydydd dydd, ond ar y pumed dydd y gwnaeth Efe bysgod, eto yr oedd y pysgod yn greaduriaid *newydd*. Ac felly yr anifeiliaid, a'r bwystfilod, &c. Yr oedd gan Dduw asen Adda i greu Efa, ond yr oedd anadliad Creawdwr yn angenrheidiol i'w gwneud yn enaid newydd byw. Ac yr oedd gan Dduw bridd y ddaear i greu Adda ei hun, ond trwy anadliad Creawdwr anadl einioes iddo y daeth yn enaid byw. Yn gyffelyb i hyn effeithir cyfnewidiad wrth achub y pechadur ag sydd yn ei wneud mewn ystyr bwysig yn "greadur newydd."

Ymddengys fod yr ymadrodd "anadl einioes," yn ei berthynas âg Adda, yn golygu "*anadl bywydau*." Cynwysa hyn fod mewn dyn, pan y crewyd gyntaf, elfenau gwahanol fywydau—y llysieuol, yr anifeilaidd, y meddyl-iol, a'r ysprydol. Ac mae mewn dyn elfenau sydd yn peri ei fod yn tyfu fel llysieuyn—megis ei wallt a'i

ewinedd—bwyta a gweithio fel yr anifail. Eithr fel efrydydd a chymeriad yr arddengys ei fywyd meddyliol ac ysprydol. Anadlodd Duw *germs* yr holl fywydau hyn i Adda. Yr oedd "pob ffurf o fywyd," medd Dr. Pope, "yn cael eu cydsymio a'u cydgrynhoi ynddo ef." Eithr oherwydd anufudd-dod, fforffetiodd Adda yr oll. Ond yn yr addewid o "Hâd y wraig," caed trefn i adferu a diogelu yr oll.

Golyga y greadigaeth newydd, sydd yn y testyn, adferiad neu ail-fodoliad yr uchaf o'r bywydau hyn, sef y bywyd ysprydol—bywyd cymeriad. Nid myned oddicartref fel y Mab Afradlon, ac eto yn *bod*, a wnaeth y bywyd hwn trwy bechod, eithr *colli o fod.* Ac yr oedd eisieu gallu creadigol i wneud y sawl oedd "farw mewn camweddau a phechodau" yn fyw drachefn.

Mae y bywyd hwn yn cynwys gallu ysprydol i gymdeithasu â Duw byw. Pan mae dyn yn credu yn Nghrist, enfyn Duw ei Ysbryd i'w yspryd ef, gan ei gyfodi a'i fywiogi i undeb calon âg Ef ei hun. Geilw Dr. Pope ef, "*The renewal of the soul from its chaos*" ("adnewyddiad yr enaid o'i afluneidd-dra.") Mae yn cynwys dod yn *fyw i Dduw.* Mae y pechadur yn fyw i'r cylch llysieuol fel y mae yn tyfu, i'r cylch anifeilaidd fel y mae yn bwyta a gweithio, ac i'r cylch meddyliol fel y mae yn efrydu a chymdeithasu; eithr yn farw i'r Duw byw, cyfiawn, a sanctaidd—dim ynddo yn ymateb i awdurdod a hawliau Duw. Nid yw ond *chaos* ysprydol, a dyna fyddai byth heb weithrediad y Gwaredwr-greawdwr i greu ynddo fywyd newydd, ac felly ei wneud yn "greadur newydd." Yn ngrym y bywyd

newydd hwn y galluogwyd Enoch i "rodio gyda Duw." Soniai yr enwog George Whitfield am ddyn ieuanc yn ei amser ef a gadwai y fath gymundeb â Duw nes yn fynych *dynu ei het iddo.*

Mae deiliad y cyfnewidiad hwn yn "greadur newydd." Mae ei ymwybyddiaeth a'i fuchedd yn *newydd*—"yr hen bethau a aethant heibio, wele gwnaethpwyd pob peth yn newydd." Mae y cyfnewidiad ysprydol hwn yn creu y fath chwildroad yn yr is-fywydau, nes y mae pob peth yn dod yn newydd. Pan y mae Arlywydd newydd Unol Dalaethau America yn cymeryd ei eisteddle yn swyddogol, mae'n meddu awdurdod i effeithio chwildroad hollol yn swyddogion y wlad fawr hono. Os mỳn, gall fwrw rhai o swyddau uchel i fysg y cyffredin, neu ddarostwng rhai o safle uwch i safle îs, neu ddyrchafu ereill wrth ei ewyllys. Yn gyffelyb i hyn y mae adnewyddiad yr enaid o'i *gaos*, a'i osodiad mewn undeb newydd â'r Duw byw yn Nghrist, yn cynyrchu chwildroad ardderchog yn y profiad a'r fuchedd mewn perthynas â'r îs-fywydau. Troir yr hen ddyn o'i swydd—daw y cnawd, fu yn faeslywydd, yn garcharor—yn "gaeth i ufudd-dod Crist;" a'r gydwybod, a rwystrid bob amser rhag tori dim *figure* yn y rhyfel, yn derbyn *promotion* i gylch uchel. Mae y pethau oedd o'r tu blaen wedi myned y tu cefn, a dim edrych ar eu hôl mwy; ac mae y pethau oedd o'r tu ol yn dod i'r *front*. Mewn gair, mae yna ddyn newydd wedi ei greu megis yn nghanol yr hen ddyn; ac mae y naill yn bywhau, a'r llall yn "marwhau trwy yr Yspryd." Mae gan y dyn newydd hwn organau a synwyrau newydd—llygaid newydd tu ol i'r

hen lygaid, clyboedd newydd tu ol i'r hen glyboedd, a theimladau newydd yn gweithio dan, a thrwy bob teimlad arall. Mae ganddo lygaid i'w gau ar wagedd, ac i agor ar bethau rhyfedd cyfraith Duw—clyboedd i glywed llais y Bugail da—a chalon i deimlo curiadau ei galon Ef. Yn y sacrament sanctaidd o Swper yr Arglwydd, mae y dyn newydd yn gweled, clywed, a theimlo presenoldeb yr Iesu grasol. Medda gyfatebiadau *(correspondences)* newydd, a bâr i'r hen gyfatebiadau fyned heibio yn raddol, ac ni bydd marwolaeth ei hun ond eu llwyr fynediad heibio, a'r dyn newydd yn fwy byw a hardd nag erioed. A phan ddaw y corff i'r golwg y tro nesaf, bydd yn newydd, ysprydol, anllygredig, anfarwol, a gogoneddus. Ffurfia ran o gyfatebiadau tragwyddol dyn. Deil ei organau oll *test* tragwyddoldeb ei hun. Dyma ddyn newydd anfarwol, a dyn anfarwol newydd ac ieuanc. Fel y dywedodd y Gwaredwr am dywysog y byd hwn, gall y dyn newydd ddyweyd am angau, wedi yr adgyfodiad, "Nid oes iddo ddim ynof fi."

## II.—Fod y Creadur Newydd yn Nghrist yn cael ei osod mewn creadigaeth newydd.

"Yr hen bethau," yn wrthddrychol, "a aethant heibio, wele gwnaethpwyd pob peth yn newydd."

Mae chwildroad newydd yn cymeryd lle yn yr hen greadigaeth i'r creadur newydd. Mae y cylchyniadau yn dod yn newydd iddo ef, am fod y cyfatebiadau ynddo ef yn newydd i'r cylchyniadau. Yr oedd pob peth yn bod *cyn* y dyn newydd, oblegid trefn y Creawdwr mawr oedd creu cyflenwad o flaen hawliad—bwyd o

flaen bwytawr, awyr o flaen ffroenau a *lungs*, &c. Dyn a grewyd olaf, ac yr oedd ei gyflenwadau yma yn barod i'w dderbyn. Eithr mae y dyn newydd yn gwneud cylchyniadau newyddion o'r hyn oedd yn bod eisoes. Pan ddaw bywyd newydd i fôd, daw y greadigaeth yn newydd iddo ef. Pe rhoddai y Creawdwr mawr gyffyrddiad creëdig i flodeuyn y maes, nes ei wneud yn anifail, ni fyddai mwyach yn gallu byw ar oleuni a gwres yr haul, awyr, a phridd, ond byddai raid iddo droi i bori y glaswellt a dyfai o'i gwmpas. Deuai y greadigaeth mewn ystyr bwysig yn newydd iddo.

Nid yw y cyfnewidiad hwn ond bychan o'i gymharu â'r cyfnewidiad a wna y Gwaredwr-greawdwr wrth greu dyn o'r newydd. Ac oblegid hyny, mae'n cymeryd ei le mewn creadigaeth newydd gyfaddasol i'w ofynion newydd. Cyn ei greu yr oedd y cylchyniadau uchaf yn gloedig ac anweledig iddo ef—Duw, angylion, saint, nefoedd, a'r Beibl, o'r golwg—dim yn y golwg ond y cnawd, yn ei flysiau, ei wŷniau, a'i drachwantau. Eithr wedi ei greu o'r newydd, ymagorodd y cylchyniadau gogoneddus hyn ger ei fron, a dechreuodd yr hen bethau gilio yn ol. Mae y naill yn dyfod, a'r llall yn myned. Mae y byd, a'r cnawd, a'r diafol, yn myned yn ol fel cerig milltir, am fod y creadur newydd yn myned yn mlaen, ac mae cylchyniadau uchaf y byd ysprydol yn dyfod ato, am ei fod ef yn myned atynt hwy. I'r dyn newydd y mae pob peth yn newydd—chwildroad hollol yn y cread gwrthddrychol—y gogledd wedi dod yn ddeheu, a'r deheu yn ogledd—y dwyrain yn orllewin, a'r gorllewin yn ogledd—i fyny yn i lawr, ac i lawr yn i fyny. Mae

y dyn newydd yn ymadael â'r hen bethau trwy ymdynu at, a glynu wrth y pethau newydd. Rhaid i aml i bechadur achubedig ymladd yn eofn â'r hen bethau, trwy ddilead cyflawn yr hen gyfatebiadau. Eithr ymladdwr dewr am ei einioes ydyw y dyn newydd yn Nghrist—"pob peth a ddyry efe am ei einioes." Mae'n ddigon gwrol i dynu ymaith ei lygad de, tori ymaith ei law, neu ei droed de, er mwyn byw. Un boreu, deffrôdd boneddwr yn yr India, a gwelodd neidr anferth wedi ymaflyd yn mawd ei droed, ac er mwyn diogelu ei fywyd, a lladd ei elyn, mae'n cymeryd y llawddryll oedd ganddo wrth ei law, ac yn saethu ymaith y darn hwnw o'i droed, ac wrth hyny yn lladd y sarff ac arbed ei fywyd, er colli ei aelod. Yn gyffelyb, medda y dyn newydd ddigon o wroldeb i symud ymaith y *wanc* am yr hen bethau, trwy weddïau taerion a dibaid. Ac fel hyn, wrth golli yr hen, mae'n cael y newydd. Mae y pethau newydd yn llanw lle yr hen. Colli yr hen heb gael y y newydd ydyw yn fynych gyda phethau y bywyd presenol. Collodd llawer bron yr oll a feddent o gyfoeth y byd hwn yn y "*Liberator*," ac mae llawer yn colli y cwbl wrth or-fentro mewn masnach amheus ei hegwyddor, nes na ddaeth dim i'w rhan drachefn ond tlodi. Flynyddau lawer yn ol yr oedd triarddeg o foneddigion yn ciniawa yn nghyd yn Paris. A'r adeg hono, cytunasant i giniawa felly yn Paris hyd y byddai pob un fyw. Y flwyddyn ddilynol, yr oedd unarddeg yn bresenol, a dwy gadair wâg; ac yn mhen yr ugain mlynedd nid oedd ond un yn bresenol, a deuddeg cadair wâg. I'r boneddwr hwn yr oedd yr hen bethau yn

myned heibio, eithr dim newydd yn eu lle—cadeiriau gwâg oedd yr oll oedd yn aros. Nid felly y mae i'r dyn newydd, eithr cymerir lle yr hen bethau îs-raddol a drwg, gan yr uwchraddol a'r tragwyddol dda. Efe a wledda gyda Christ yn lle'r diafol, a chyda'r saint yn lle pechaduriaid. Ac mae y cadeiriau hyn yn llenwi yn fwy-fwy bob dydd. Gwelodd Ioan dorf nas gellid ei rhifo o gwmpas y bwrdd agos i ddwy fil o flynyddoedd yn ol; ond beth yw ei rhif heddyw?

Mae cynydd ysprydol y dyn newydd, a threigliad amser, yn myned âg ef yn nes o hyd i'r cyflwr, a'r adeg y bydd yr oll o'r hen bethau *wedi myned heibio*—y diafol a'i angylion, a phechaduriaid wedi eu carcharu yn ddiogel am byth; a'r byd yn ei holl demtasiynau—ei dafarndai, ei chwareudai, ei buteindai, a'i ofer-atdyniadau, wedi myned ar dân; a sicrheir cylchyniadau cyfaddasol i'r corff ysprydol yn dragywydd. Y pryd hwnw bydd cyrff y saint fel angylion Duw yn ddilynach, a chânt gynaliaeth addas i hyny.

> "Bywyd anfarwoldeb iach
> Foddlona'r dorf ddilinach."

Mae edrych yn mlaen at y pethau bendigedig hyn yn gysur, llawenydd, a symbyliad mawr i'r dyn newydd. Trwy gadw y wyneb at y pethau hyn, llwydda i gadw yr hen bethau o'r tu cefn. Cedwir ef yn iach, hoew, a grymus, "tra y bydd yn edrych, nid ar y pethau a welir, eithr ar y pethau ni welir."

Byddai yr enwog a'r duwiol M'Cheyme yn arfer treulio prydnawn Sadwrn i ymweled â'r cleifion, a'r rhai fyddent ar ymylon tragwyddoldeb; a'i reswm am

hyny ydoedd hyn—"Before preaching, I like to *look over the verge*" ("Cyn pregethu, yr wyf yn hoffi *edrych dros y geulan*"). Ac fel hyn y cynorthwyai y dyn sanctaidd hwnw y dyn newydd i chwyddo *stock* ei fywyd, ac addfedu ei hun i'w gylchyniadau tragwyddol. A dyma fel y mae pob peth yn yr ystyr berffeithiaf i ddod yn newydd rhyw ddydd. Gwelaf adeg, a gwelaf gyflwr, y bydd y dyn newydd yn gwbl ar ddelw ei Waredwr-greawdwr, trwy fyw yn oes oesoedd yn ei gwmni gogoneddus

Gwŷn a gwridog ydyw'r Iesu,
  Prydferth fel y rhosyn ir;
Gwŷn a gwridog fyddi dithau,
  Gristion egwan, cyn bo hir:
Fe gyfododd Crist o'r beddrod,
  Ac esgynodd at y Tad;
Esgyn ato a wnai dithau,
  Blentyn Duw, i'r hyfryd wlad.

O! gredadyn, edrych acw,
  Gwêl dy Brynwr ar y làn;
Dyna'r lle y byddi dithau
  Mewn gogoniant yn y man:
Er it' deimlo'n wan a nychlyd,
  Cario cystudd bron o hyd;
Wedi gadael oerni'r gweryd,
  Cei breswylio'r nefol fyd.

Rhodio gei, mewn corff ysprydol,
  Balmant aur y ddinas lân;
Wedi gadael pob rhyw drallod,
  Ac yn uchel iawn dy gân:
Am faddeuant ti glodfori,
  Am dy olchi codi'th lef;
Am dy godi'n hardd o'r beddrod
  Bloeddi fawl a leinw'r nef.

# UNOLIAETH DIGYFNEWID PERSON, CYMERIAD, A DYLANWAD IESU GRIST.

"*Iesu Grist, ddoe a heddyw yr un, ac yn dragywydd.*"
HEB. xiii. 8.

WRTH gymeryd golwg ar y testyn yn ei oleuni ei hun, ac yn ngoleuni y cyd-destynau, credwyf mai y gwirionedd a ddysgir ynddo ydyw Unoliaeth digyfnewid Iesu Grist—unoliaeth ei *Berson*, ac unoliaeth ei *Ddylanwad ;* unoliaeth ei Berson, fel yr ymddatblyga yn ei *gymeriad a'i waith ;* ac unoliaeth ei ddylanwad fel yr ymddatblyga yn *sefydlogrwydd* a *chysondeb cymeriad* y gwir gredinwyr. Mae Iesu Grist y cyfryw na effeithir arno gan amgylchiadau ; ac mae felly, hefyd, yn ei allu parhaus i effeithio ar fywyd uchaf y rhai a gredant ynddo. Efe a wna egwyddor fawr eu bywyd yn annibynol ar amgylchiadau, yn ei Berson fel yr "oedd ddoe"—y gorphenol, y mae "heddyw"—y presenol, ac y bydd "yn dragywydd," neu i'r "oesau dyfodol." Yn ei ddylanwad fel yr oedd ddoe i'r gwir gristion, mae heddyw, ac y bydd yn dragywydd.

Dysgir y ffurf gyntaf i'r gwirionedd hwn yn y testyn ei hun, a dysgir y ffurf olaf yn nghysylltiadau ac amcan arbenig llefariad y testyn. Yn y ddwy adnod a amgylcha y testyn, mae'r Apostol yn anog i sefydlogrwydd digyfnewid mewn crefydd a duwioldeb. Yn yr adnod o flaen y testyn dywed, "Meddyliwch am eich blaenoriaid,

y rhai a draethasant i chwi Air Duw: ffydd (ymarferol—nid credo yn unig), y rhai dilynwch, gan ystyried diwedd eu hymarweddiad hwynt," (neu eu gyrfa grefyddol hwy). Mae y term "diwedd" yn y geiriau hyn yn golygu mynediad allan—*egress* o'r byd yn niwedd eu taith. Pan welwyd hwy ddiweddaf yn anturio trwy borth ofnadwy marwolaeth ferthyrol, yr oedd eu cymeriad duwiolfrydig yn cadw i fyny eu hunandeb *(idendity)* yn ardderchog. "Dilynwch hwynt." Dyma, drachefn, a ddywed yn yr adnod ar ol y testyn, "Na'ch arweinier oddiamgylch âg athrawiaethau amryw a dieithr: canys da ydyw bod y galon wedi ei chryfhau,—(neu yn ol y cyfieithiad Seisnig), ei sefydlu *(established)*—â gras." Ac yn awr fe ymgyfyd y testyn yn nghanol yr anogaethau oll-bwysig hyn, fel cymelliad grymus i ufudd-dod llawn. Eithr nis gallai y gwirionedd hwn fod y cyfryw gymhelliad o gwbl, oddieithr y golygir fod Crist, y Gwaredwr eneiniedig, ac nid y *Logos* tragwyddol yn unig, yr "un ddoe, heddyw, ac yn dragywydd," yn ei effeithiau ar y saint. Nid yw unoliaeth perffaith y Crist gwrthddrychol yn ddim calonògrwydd i ni, oddieithr i hyny gael ei gyfleu i ni yn y Crist deiliadyddol—"y Crist ynom ni."

Sylwn ar y ddwy nodwedd hyn i'r gwirionedd hwn.

## I.—Unoliaeth digyfnewid Person a chymeriad Crist, fel ei hamlygir yn ei fywyd a'i waith.

"Iesu Grist ddoe a heddyw *yr un*, ac yn dragywydd."

Rhwymir ni gan y testyn i edrych ar Iesu Grist, yn ei oleuni ei hun, fel Person, Cymeriad, a Gweithredydd. Nis gellir ei gymharu i neb arall blaenorol na dilynol

iddo. Mae yn aros wrtho ei hun, uwchlaw pob profiad o eiddo dynolryw. Gwyddom i Hume ymdrechu ffurfio ymresymiad yn erbyn gwyrthiau y Gwaredwr, a phawb ereill, oddiwrth y ffaith eu bod yn groes i bob profiad blaenorol. Ond ai onid yw pob darganfyddiad newydd, mewn rhyw ystyr, heb ategiad gan brofiad blaenorol? Eithr os bydd unoliaeth rhwng y cyfryw â darganfyddiadau dilynol, mae gan y rheswm dynol sail i dderbyn y darganfyddiadau hyn fel yn ddilys. Cyn hyn fe ddarganfyddwyd asgwrn ffosylaidd o rhyw fwystfil neu aderyn, ond ei fod yn llawer mwy a gwahanol i ddim a welwyd o'r blaen. Tueddai enwogion ar y cychwyn, oherwydd y cyfryw annhebygrwydd, ymwrthod âg ef fel ffosyl unrhyw greadur gwirioneddol. Eithr trwy ymchwiliadau pellach, caed gafael ar asgwrn ffosylaidd arall, ac un arall ag oeddent yn ateb i'r cyntaf, pa rai, wedi eu dwyn at eu gilydd, oeddent yn gwneuthur esgyrn-ffurf naturiol a chyson o rhyw greadur na welwyd ei debyg mewn ffurf na maint o'r blaen. Os nad yw yn debyg i arall, mae yn debyg iddo ei hun, a'i wahanol ranau yn *ffitio* eu gilydd. Ac mae cysondeb ac unoliaeth y cyfryw yn rhwymo dynion i'w dderbyn fel y ffosyl cyntaf o ryw greadur a fu, ac i roddi iddo ei le priodol yn y byd gwyddonol. Neu, tybier am berson yn rhoddi tystiolaeth mewn llŷs gwladol, neu rhyw lŷs arall. Mae ei dystiolaeth gyntaf yn ymddangos yn annhebyg, ac anhawdd ei chredu. Efe a chwanega dystiolaethau ereill digon anhawdd eu derbyn, ac wrth edrych ar bob un wrthi ei hun, dechreua y llŷs arddangos anesmwythder. Eithr wedi ymdrafferthu i'w cymharu a'u cyferbynu, gwelir eu bod

yn cael eu nodweddu gan gysondcr ac unoliaeth. Ymgyfuna yr annhebygolion hyn, a thyfant yn debygolrwydd cryf, a dyweyd y lleiaf. Mae trefn ac unoliaeth yr oll yn dod yn debygolrwydd cryf o wirionedd yr oll.

Nodweddir hanes Crist gan y gwerth gwyddonol hwn. Yr oedd ymddangosiad cyntaf, a Pherson Crist yn ei neillduolrwydd, yn groes i bob profiad o eiddo dynolryw. Crist ei hun ydyw y wyrth fwyaf yn hanes y byd. Fel mynydd Catahdin yn Maine, Unol Dalaethau America, safai yn uwch, ac yn gwbl wrtho ei hun oddiwrth bawb a'i hamgylchai. Pe dilynid y fath ymddangosiad gan fywyd cyffredin, buasai yn anghredadwy. Eithr yn ei achos Ef, mae cyflawniadau a gwyrthiau ei fywyd mewn cysondeb perffaith â'i Berson, ac yn meddu naturiolrwydd achos ac effaith. Gwir fod ei wyrthiau yn arddangosion dieithr i'r byd, eithr yr oeddent yn gwbl gyson â'r profiad feddai y byd ohono Ef ei hunan. Mae yr esgyniad rhyfedd yn gyson â'r adgyfodiad, a meddai y byd brofiad o adgyfodiadau ereill trwyddo Ef; ac yr oedd y gyfres ogoneddus o wyrthiau gymerodd le, rhwng ei adgyfodiad a'i enedigaeth rhyfeddol, yn cynwys cadwen gyson, gref, a gogoneddus. Disgwyliwn i'r haul fachludo mewn harddwch ac ardderchogrwydd mawr ar ddiwedd dydd anghyffredin o hyfryd yn Mehefin. Yn y pennodau cyntaf o Efengyl Matthew, dacw haul mawr yn codi mewn gogoniant llachar. Yn y pennodau canol, gwelwn ef yn ymddisgleirio mewn ffurfafen ddigwmwl, ac yn y pennodau olaf gwelwn ef yn machludo mewn mawredd a gogoniant cyffelyb. Ac mae y perffaith gysondeb a'r unoliaeth hwn yn brawf cryf o ddi-

lysrwydd Person a chymeriad Crist—unoliaeth yr oll yn profi dilysrwydd pob rhan, a phob rhan yn tueddu i brofi gwirioneddolrwydd yr oll. Llefarodd Crist fel na lefarodd neb arall am ei fod yr hyn nad oedd neb arall. Er na cherddodd tuhwnt i fynyddoedd ei wlad ei hun, darfu iddo fyw bywyd a berthynai i'r holl fyd. Yn wahanol i'r proffwydi, yr oedd ei ysprydoliaeth Ef yn tarddu allan o'i fewnol, ac nid oddiwrth Dduw oddiallan iddo. Ac ymddatblygodd y gogoniant hwnw mewn unoliaeth godidog—"ddoe a heddyw *yr un*." O edrych arno, gwelir y cyfryw unoliaeth

(1) *Yn nghyflawniadau a datganiadau ei fywyd.*

Fel y crybwyllwyd, y wyrth gyntaf oedd ymddangosiad y Duw-ddyn—Person gwreiddiol, heb ei fath o'i flaen, nac ar ei ol. Yr *oedd* Duw, ac yr *oedd* dyn, cyn yr ymgnawdoliad ; eithr dyma'r pryd yr ymddangosodd y *Duw-ddyn* yn un Person dirgeledig ac anolrheiniadwy yn elfenau ei undeb mewnol. Eithr tra yn addef dirgelwch undeb y ddwy natur yn ei Berson, rhaid, hefyd, cydnabod fod neillduolrwydd yr undeb yn ei Berson yn cael eu hamlygu yn nghyflawniadau a datganiadau ei fywyd. Pan y gwelai duedd yn ei ganlynwyr i anghofio, ac anwybyddu ei ddynoliaeth, cymerai drafferth i wneud ei ddynoliaeth yn ddiamheuol. Gwahoddodd Thomas, oedd mewn perygl o dybio mai yspryd ydoedd, i roddi ei fys yn ôl yr hoelion, hyd nod yn nghorff ei ogoneddiad. Ac yn adgyfodiad Lazarus, disgynodd *deigryn dynol* a *nerth dwyfol* i'w fedd bron ar unwaith. Drachefn, pan welai duedd yn ei ganlynwyr i anghofio ei ddwyfoldeb, dygai ei ochr ddwyfol i amlygrwydd ar

unwaith. Wedi bod yn y deml yn ystod blwyddyn olaf ei weinidogaeth, yn cyhoeddi gwaeau ofnadwy uwchben yr Ysgrifenyddion a'r Phariseaid, mae rhai o'i ddisgyblion yn dyfod ato, gan gynyg eu hunain fel *guides* i ddangos iddo ogoniant yr adeiladau ardderchog, fel pe na buasai ond ymwelydd dynol dieithr i'r lle. Nid oedd y diffyg sylweddoliad hwn o'i ddwyfoldeb yn foddhaol ganddo, a llefara eiriau oeddent fel cleddyf llym yn trywanu eu heneidiau. Dywed, "Yn wir, meddaf i chwi, ni adewir yma gareg ar gareg ar ni ddatodir." Mae yn fanwl ofalus i gadw y cyfuniad o'r dwyfol a'r dynol yn ei Berson yn wastad mewn arbenigrwydd llawn. Dyma'r unoliaeth a esponia bob gair a chyflawniad o'i eiddo, a heb pa un y rhwystrir pawb ynddo Ef. Wedi bod yn cyflwyno dysgeidiaeth a nodweddid gan wybodaeth ddwyfol yn synagog yr Iuddewon, Synodd arnynt, a dywedasant, "O ba le daeth y doethineb hwn, a'r gweithredoedd nerthol i'r *dyn* hwn? Onid hwn yw mab y saer?" "A hwy a rwystrwyd ynddo Ef." Paham? Am fod ei ddysgeidiaeth Ef yn ddwyfol, ond eu syniad hwy amdano yn ddynol—"y dyn hwn." Pe buasent yn meddu dirnadaeth am ei Berson fel Duw-ddyn, buasent ar unwaith yn gweled unoliaeth yn ei eiriau a'i bersonolaeth, ac ni rwystrasid hwynt ynddo Ef. Nid rhyfedd i bobl a edrychent arno fel dyn yn unig, ddywedyd ei fod "allan o'i bwyll." Mae pwyll y Gwaredwr yn ddwyfol-ddynol; ac oddieithr yr edrychir arno oddiar y safle hono, rhaid cyfrif ei bwyll yn anmhwylledd. Ond yr oedd y rhai dderbynient fantais arbenig oddiwrth ei weithredoedd nerthol, yn cael

mewn-olwg i'w Berson trwy ei waith, tra yr oedd y llygaid-dystion a gymerent yn ganiataol mai dyn ydoedd, yn ymddyrysu, ac yn ymwylltio. Wedi i'r Iesu fwrw allan y lleng cythreuliaid o'r dyn hwnw, yn ngwlad y Gadareniaid, i'r moch, a thrwy y moch i'r môr, mae pobl y ddinas, er gweled y dyn yn "eistedd yn ei ddillad, ac yn ei iawn bwyll," yn dymuno arno fyned ymaith o'i "goror hwynt." Paham? Nid oeddent wedi cael golwg ar brydferthwch a gogoniant ei Berson a'i fywyd. Eithr dyna ddywedir am y dyn y buasai y cythreuliaid ynddo—"A ddymunodd arno gael bod gydag Ef." Paham? Wedi cael golwg yr ydoedd ar ogoniant ei Berson, trwy ogoniant y wyrth a wnaed arno ef ei hun.

(2) *Daw yr unoliaeth hwn i'r amlwg yn amcan mawr ei fywyd.*

Mae yn y bennod gyntaf o Matthew gychwyn-bwynt yr Iesu, yn gystal a'r Immanuel—Gwaredwr y bobl oddiwrth eu pechodau, yn gystal a'r "Duw gyda ni." Ac mae yn gymaint o Iesu ag ydyw o Immanuel. Mae yr Immanuel yn orlawn o'r Iesu. Nid Iesu bach mewn Immanuel mawr ydyw Efe. Gwyddom am ddynion mawr mewn dealltwriaeth, gwybodaeth, a chyfoeth, eithr y dyngarwyr yn anweledig fychan ynddynt. Eithr bron na ellid dywedyd fod y Gwaredwr ynddo Ef yn tori dros ymylon yr Immanuel. Cyfarfyddwyd ffydd gwraig y diferlif gwaed yn nghwriadau ei fantell. Llifai ei hiachawdwriaeth hi o'i Berson i'w wisg. Mae *tinc* Gwaredwr yn mhob symudiad a phob gweithred o'i eiddo. Gwir nad oedd melldithiad y ffigysbren ddiffrwyth yn dwyn bwyd na diod, na dillad, nac arian i

neb, ond daeth o'r cyfryw felldithiad wers bwysig ar ffydd. Ac atebai melldithio miloedd o goed, os cynwysai hyny wersi a symbyliad i ffydd. Nid aeth yr enaint wariwyd ar gorff yr Iesu yn ofer, ac nid aeth y coed a ddinystriwyd ar wersi ffydd yn ofer chwaith. Eithr y rheol ydoedd, fod ei wyrthiau ar fater yn sicrhau llesiant tymhorol i blant dynion, a'r llesiant hwnw yn gyfryw na allai neb arall ei roddi o gwbl. Gwyddom am lawer dosparth o ddynion a gyfodasant yn erbyn yr Iesu, eithr nid ydym yn gwybod am un meddyg ddygodd farn condemniad arno. Gwna cyfreithwyr hyny yn fynych, eithr nid felly y meddygon. A'r rheswm da am hyny, debygid, ydoedd na ymyrai yr Iesu nemawr â'r rhai y gallasai y meddygon eu gwella. Rhyw "*travelling home for the incurables*" oedd yr Iesu yn ei berthynas â chleifion y byd. Ac yn wir, dyna ydoedd yn mhob cysylltiad, oblegid amcan mawr ei ymddangosiad ydoedd rhoddi gwaredigaethau, oeddent yn mhell uwchlaw gallu pawb ereill; megis rhoddi golwg i ddall o'i enedigaeth—gwellâd o'r parlys anfeddyginiaethol, a'r gwahanglwyf cyffelyb—adfer i iechyd wraig y diferlif gwaed, yr hon wariodd y cwbl ar feddygon—bwrw o ddynion lengoedd o ysprydion drwg—ac hyd nod gyfodi y meirw o'u beddau. Sŵn Gwaredwr mawr sydd yn mhob gweithred o'i eiddo. Ac yr oedd mor llawn o'r Gwaredwr, nes mae weithiau yn rhoddi iachawdwriaeth mewn cromfachau. Ar ei ffordd i godi merch Jairus o'i bedd yr oedd yr Iesu pan wellâodd Efe wraig y diferlif gwaed, a rhwng cromfachau y ceir yr hanes. O! mor fyw ydoedd ei natur dyner a bendigedig i angenion,

clwyfau, gofidiau, a thrueni plant dynion. Mae y Gwaredwr yn amlwg, o'r dechreu hyd y diwedd, ïe, hyd y *diwedd.* Tra y mae yr Immanuel fel pe yn cilio i'r cysgodion pan y llefa, "Fy Nuw, fy Nuw, paham y'm gadewaist?" mae y Gwaredwr yn ymwthio i'r golwg yn ei weddi dyner, "O Dad, maddeu iddynt." Ac un o'r golygfeydd olaf geir ar y groes ydoedd achub lleidr, ei gymeryd i undeb âg Ef ei hun, ac yna—gartref. Ac un o'i gyflawniadau trugarog cyntaf, wedi ei adgyfodiad o'r bedd, ydoedd trwsio briwiau mawrion Petr ar ol y gwadiad, a'i osod yn y fath *working order*, nes cael ei lenwi â nerth i farw fel merthyr dros ei Waredwr.

II.—UNOLIAETH EI DDYLANWAD AR EI BOBL, FEL EI HAMLYGIR YN SEFYDLOGRWYDD EU BYWYD CREFYDDOL HWY.

Medda yr Iesu allu i sicrhau i'w bobl gymwysiad parhaol ei adnoddau fel Immanuel a Gwaredwr. Nid yn unig mae ynddo ddigon ar gyfer y sawl a ddeuant, ac a arosant mewn perthynas âg Ef, ond mae ynddo allu i ddiogelu y berthynas ei hun. Nid oes un math o amgylchiadau a all sefyll rhwng Crist â'i bobl. Ac os teimla rhai o'r bobl fod amgylchiadau yn tywyllu rhyngddynt âg Ef, mae'n amser iddynt ameu cymeriad eu perthynas âg Ef. Eithr Efe a fŷn i'r sawl sydd yn ei geisio ei gael. Ond i ni geisio, mae'n foddlon bod yn gyfrifol am y cael. Mae perthynas plant dynion â'u gilydd yn dibynu llawer iawn ar amgylchiadau. Gall amgylchiadau lesteirio yr egnïon mwyaf dyfal er cyraedd amcanion teilwng. Un o'r pethau mwyaf tarawiadol yn

hanes marwolaeth ei Fawrhydi y Duc o Albani, ydoedd y nifer fawr o goron-blethau *(wreaths)* a anfonwyd o wahanol wledydd, a chan wahanol bersonau urddasol. Eithr y digwyddiad effeithiolaf oll ydoedd gwaith ei weddw alarus, yn anfon croes o flodau prydferth i Cannes, yn Ffrainc, lle yr oedd ei weddillion ar y pryd, gyda dymuniad ar iddi gael ei gosod, nid ar yr arch, eithr tufewn i'r arch, ar ei fynwes. Ond cyn cyraeddiad y flodeu-groes yno, yr oedd dadfeiliad cyflym wedi gwneud yn hanfodol scriwio yr arch i fyny, byth i'w hagor mwy. Mae amgylchiadau yn ddigon cryf i atal cyflawniad dymuniadau personau breiniol mewn trallod.

Amser yn ol, cymerodd llong-ddrylliad alaethus le gerllaw Lerpwl. Yr oedd y bywyd-fâd wedi gallu cyraedd o fewn ychydig latheni i'r criw anffodus ; eithr yr oedd y môr wedi ymgodi i gyflwr mor aruthrol frochus, fel nas gallent gyraedd yn nes at eu gilydd heb gael eu colli oll ; ac mae dwylaw y llong oll bron yn myned yn ysglyfaeth i ryferthwy y tònau yn ngolwg, ac yn bur agos yn nghyraedd dwylaw y bywyd-fâd. Yr oedd digon o le iddynt oll yn y cwch, eithr nis gallent gyraedd at y cwch, na'r cwch gyraedd atynt hwy, a boddi a wnaethant. Eithr ni chaiff neb o frodyr lleiaf Crist fyned i unrhyw gyfyngder tuhwnt ei allu Ef i gyraedd atynt. Pan oedd y môr a'i "dònau yn drallodus," ni allai y disgyblion fyned at yr Iesu i'r làn, eithr gallodd Ef gerdded y dyfroedd cyffrous atynt hwy. Felly y mae yn yr ystyr uchaf oll, ni chaniatâ yr Iesu i unrhyw allu sefyll rhyngddo â'i anwyliaid. Efe a ymwthia atynt trwy bob tymestl, ac a ymgeidw gyda hwynt er pob

ymosodiad. A dyma ddirgelwch unoliaeth a sefydlogrwydd cymeriad y gwir gristion yn holl amgylchiadau gwrthdarawol y byd hwn. Mae pleser a chân yr annuwiol yn dibynu bron yn gwbl ar amgylchiadau. Ond mae y cristion fel ei Waredwr, a thrwy ei Waredwr, yn byw uwchlaw amgylchiadau; a deil unoliaeth ei gymeriad a'i gân i fyny trwy bob helynt. Wedi colli ei holl eiddo, a'i wneud yn gwbl dlawd, gallodd Habacuc ddatgan, "Efe a wnai i mi rodio ar fy *uchel-leoedd.*" Yn ei berthynas fawr gyfriniol â Duw, gallodd edrych o'i uchel-leoedd yn mynydd yr Arglwydd ar stormydd bywyd yn mhell islaw. Yn y gwaelodion acw y clywai sŵn y daran a'r corwynt, ac y gwelai y mellt fforchog, gwylltion, yn fflachio, eithr yn methu ei gyffwrdd ef. Ni effeithia y nos ar gân, na gorthrymder ar orfoledd y cristion. Amser yn ol, yr oeddwn yn teithio gyda'r gerbydres, ac yn yr adran agosaf ataf yr oedd nifer o ddynion a merched, oeddent ar eu ffordd i gyngherdd, yn canu anthem odidog yn ryfeddol o swynol. A rhwng melusder y gân a disgleirdeb yr haul a belydrai trwy y ffenestr i'r cerbyd, teimlwn fy mod wedi fy nyrchafu i bwynt uchel iawn o fwynhad. Ond yn ddisymwth, dyma y gerbydres i mewn i'r tynel. Ond beth ddaw o'r canu yn awr? Dal yn mlaen wnaeth y cantorion o hyd, ac ni fflatiodd yr anthem ddim yn y tynel; ac yn wir, yr oedd y *contrast* rhwng y canu swynol a'r tywyllwch yr oeddem ynddo, yn rhoddi yn yr oll ryw *charm* annesgrifiol. Wrth fyfyrio, nis gallwn beidio sylweddoli taith y cristion, ac unoliaeth ardderchog dylanwad Crist ar ei fywyd. Daeth bywyd ardderchog Job gerbron fy

meddwl. Yn nechreu ei daith ymorfoleddai efe yn y meddiant o ddigonolrwydd da y ddau fyd—y naturiol a'r ysprydol; llawer o gyfoeth mewn anifeiliaid, ymenyn, a mêl; a llawer o gyfoeth gras Duw. Pan foliannai ei Arglwydd, mae haul rhagluniaeth yn disgleirio trwy ffenestr ei gerbyd yn ei ymdaith yn mlaen. Ond yn hynod sydyn, mae y *train* yn ymgolli mewn tynel tywyll, du—holl amgylchiadau ei fywyd yn newid yn hollol; eithr ni newidiodd ei gân ei chyweirnod o gwbl. Credwyf mai o'r tynel mawr yr esgyna y nodau pereiddiaf ac uchaf eto, "Yr Arglwydd a roddodd, a'r Arglwydd a ddygodd ymaith, bendigedig fyddo enw yr Arglwydd." Dyma *top notes* cân fawr bywyd Job. Ac nid rhagorfraint duwiolion yr Hen Destament yn unig ydyw hon—perthyna i bawb sydd mewn gwir undeb â Christ yn mhob oes a gwlad. Llefarodd Paul air cryf iawn dan yr Oruchwyliaeth Newydd—"Gorfoleddu mewn gorthrymderau." Ymddengys mai ystyr y term "gorfoleddu" ydyw "*bloedd-foliannu*." Eithr lle cyfyng i "floedd-foliannu" ydyw gorthrymderau. Mae'r *acoustics* yn dra diffygiol—y tô, a'r llawr, a'r muriau yn ymyl eu gilydd, ac yn gorthrymu ar y llais a'r natur. Nis gall neb fynu gwneud lle i floedd yn y fath fangre, ond y gwir gristion. Mae rhyw *ring* yn ei floedd ef, hyd nod mewn "gorthrymderau."

Gwelir oddiwrth hyn oll fod Crist *yn* y cristion, yn gystal ag ynddo ei hun, "ddoe a heddyw *yr un*." Ie, ond beth am y "tragywydd"? Mae ei ddylanwad ar ei bobl, hefyd, yn parhau yn dragywydd. Pe buasai yr unoliaeth yn colli at y dyfodol, a ninau oll yn ymsymud

i'r dyfodol mawr, ni buasai yn ateb diben mawr. Eithr hyfryd y sicrwydd y bydd i'r hwn oedd bobpeth i ni ddoe, sydd bobpeth heddyw, yn bobpeth i ni yn dragywydd. Pwy bynag a'i harddel Ef yn y byd hwn, gaiff eu harddel ganddo yn y palas tragwyddol, ger gwydd y Brenin. Mae ambell i bendefig o Brif-ddinas Prydain Fawr yn ymdeithio yn achlysurol i ganol y mynyddoedd, ac yn ymbleseru mewn anturio i'r bwthyn tô gwellt yn un o'r cilfachau, lle y triga gweddw unig a thlawd. Gwna y boneddwr ei hun mor rydd a chartrefol yn ei ymddiddan â hi a phe buasai yn gyd-stâd â hi, a dichon y dyry iddi rodd fechan cyn ymadael. Ond diau, pe digwyddai ei gyfarfod yn nghanol ei gyfeillion yn Regent Street, Llundain, na chymerai sylw ohoni o gwbl. Yn ei berthynas â'r weddw dlawd, nid yw "ddoe a heddyw yr *un*," ond yn *ddau* mewn un. Ond gwyddom am Un ag y mae ei ffyddlondeb a'i arddelwad yn ymgymeryd â'r tragwyddol. Bu Ef yn ffyddlon i'n codi o'r pydew i'r graig "*ddoe*." Mae'n hwylio ein cerddediad, ac yn cyfranu pob gras cynorthwyol i ni "*heddyw*." Ac wedi ein mynediad trwy yr anialwch a'r profedigaethau i mewn i'r byd mawr tragwyddol a gogoneddus, a rhodio *parapets* aur dinas Duw, bydd Ef yno yn gyntaf oll i'n cydnabod, ein croesawu, a'n *hintroducio* i'r teulu brenhinol. Oherwydd eu perthynas uchel âg Ef, mae sicrwydd hollol y caiff pob cristion ei barchu yn oruchel gan bendefigaeth y nef ei hun. Ni edrycha yr un archangel yn bellach yn ol yn ei hanes na'r adeg y daeth i undeb â'r Gwaredwr, eithr edrycha yn mlaen i'w ddyfodol disglaer a thragwyddol. Bydd i ddylanwad Crist roddi

*stamp* ar dragwyddoldeb pob credadyn. Mae bugeiliaeth Crist i fod yn effeithiol trwy ganol yr anialwch i ganol tragwyddoldeb. "Yr Oen, yr hwn sydd yn nghanol yr orseddfainc, a'u bugeilia hwynt, ac a'u harwain hwynt at ffynonau bywiol o ddyfroedd." "Ddoe, a heddyw yr *un*, ac yn *dragywydd*." Amen.



# PWYSIGRWYDD MAWR CYD-YMDRECH Y GWEINIDOG A'R EGLWYS ER LLWYDDIANT UCHAF GWAITH YR ARGLWYDD.

[Siars a draddodwyd ar achlysur Ordeiniad nifer o Weinidogion Ieuainc i'r Weinidogaeth Wesleyaidd, yn Nghymanfa Wesleyaidd Pontypridd, Mehefin 11eg, 1903].

FY ANWYL FRODYR,—Da genyf eich llongyfarch chwi, a datgan fy llawenydd personol, a llawenydd eich brodyr yn y weinidogaeth, yn nghydag aelodau yr Eglwysi Wesleyaidd, a gynrychiolir mor lluosog yma heddyw, oherwydd eich mynediad llwyddiannus trwy flynyddoedd eich prawf fel gweinidogion a bugeiliaid yn yr Eglwys Wesleyaidd. Yr ydych wedi sefyll yn barchus yn yr arholiadau—wedi arddangos llafur, yn ol eich gallu, yn y pulpud—wedi bod hyd yma yn fugeiliaid gofalus ar braidd yr Arglwydd—ac wedi cadw eich dillad yn lân, a thrwy hyny roddi esiampl dda i'r praidd—corffori eich pregethau yn eich ymarweddiad, a sicrhau gwenau a chymeradwyaeth Pen yr eglwys. A heddyw, yr ydych, trwy "arddodiad dwylaw," wedi eich cyflawn awdurdodi i "bregethu y Gair, ac i weinyddu y sacramentau yn y gynulleidfa."

Eithr hyderaf nad ydych yn gogwyddo, yn y gradd lleiaf, i edrych ar ddydd eich ordeiniad fel dechreuad cyfnod o esmwythyd, diogi, a difaterwch ; eithr yn hytrach, yn ddechreuad cyfnod maith, mi obeithiaf, o

lafur mwy diball, o ymgysegriad mwy llawn, ac o lwyddiant ysprydol mwy gogoneddus nag erioed. Yr ydych wedi arddangos, yn ystod eich pedair blynedd prawf, gynydd mewn gallu a chymwysder i'r gwaith, a'n gweddi yw, ar i chwi gynyddu yn gyfartal, o leiaf, yn yr ymdeimlad o rwymedigaeth, a phenderfyniad i fod yn weithwyr difefl yn ngwinllan eich Harglwydd. Bydded dydd eich ordeiniad yn ddydd o "ail ras," o ail eneiniad, ac o ail fedydd yr Yspryd Glân i chwi ar gyfer gwaith mawr eich bywyd.

Fy anwyl frodyr a chwiorydd yn Nghrist Iesu, yr wyf er's amser yn ddwfn deimladwy fod yr Arglwydd yn fy arwain i gymeryd mantais ar y cyfleustra euraidd hwn i'ch anerch chwi yn eich perthynas â'r gweinidogion, yn gystal a'r gweinidogion yn eu perthynas â chwi. Mae gan y brodyr ieuainc a ordeiniwyd i waith y weinidogaeth heddyw, yn nghyd â'r holl frodyr anwyl hyn yn y weinidogaeth, eu rhwymedigaethau neillduol yn eu perthynas â chwi, fel aelodau o gorff Crist. Eithr mae gan y dyrfa fawr hon o aelodau eglwysig rwymedigaethau cyfartal yn eu perthynas â'u gweinidogion. Oblegid hyn, yr wyf yn sicr fy mod yn cael fy arwain gan Ben yr eglwys, i anerch y gweinidog a'r eglwys yn eu cyd-berthynas â'u gilydd. Sylfaenir sylwadau ymarferol ar Rhuf. xv. 29—33.

"*Ac mi a wn, pan ddelwyf atoch, y deuaf â chyflawnder bendith efengyl Crist. Eithr yr wyf yn atolwg i chwi, frodyr, er mwyn ein Harglwydd Iesu Grist, ac er cariad yr Yspryd, ar gyd-ymdrech o honoch gyda myfi mewn*

*gweddïau drosof fi at Dduw; fel y'm gwareder oddiwrth y rhai anufudd yn Judea; ac ar fod fy ngweinidogaeth, yr hon sydd genyf i Jerusalem, yn gymeradwy gan y saint; fel y delwyf atoch mewn llawenydd, trwy ewyllys Duw, ac y'm cydloner gyda chwi. A Duw yr heddwch fyddo gyda chwi oll. Amen."*

Tra yn benderfynol, ar ei ffordd i'r Spaen, i dalu ymweliad â Rhufain "â chyflawnder bendith Crist," mae'r Apostol Paul yn sylweddoli pwysigrwydd cyd-ymdrech gweddigar yr eglwys, er llwyddiant gwrthddrychol y cyflawnder bendith yn meddwl a bywyd y byd; ac ar y llinellau hyn y bydd i mi symud.

*Mater*:—PWYSIGRWYDD MAWR CYD-YMDRECH Y GWEINIDOG A'R EGLWYS ER LLWYDDIANT UCHAF GWAITH YR ARGLWYDD.

Mae'r Apostol yn *penderfynu* gwynebu y byd gyda chyflawnder bendith Crist, a dylai pob gweinidog gyraedd yr un safle ysprydol. Eithr dylai yr eglwys hefyd benderfynu ymgymwyso i dderbyn cyflawnder bendith Crist iddi ei hun, ac i gynorthwyo cenad Duw mewn gweddiau a llafur, i'w chyflwyno yn llwyddiannus i'r byd.

Ymddengys nad yw y term "efengyl" i fod yn yr ymadrodd "cyflawnder bendith efengyl Crist," ac nad yw yn golygu perthynas y gweinidog â'r eglwys, ac âg athrawiaethau a gwirioneddau yr efengyl, ag sydd i fod yn faich y weinidogaeth, eithr y nerthoedd ysprydol sydd i lenwi y gweinidog a'r eglwys yn rhinwedd undeb uchel â Phen yr eglwys. Cymer yr Apostol yma yn ganiataol

fod llenwi y weinidogaeth â "holl gyngor Duw" yn hanfodol i gyraeddiad amcan y weinidogaeth a'r eglwys. Eithr y nerthoedd ddeuant o Grist ei hun, trwy ei Ysbryd, a olygir yn benaf yma—"cyflawnder bendith Crist." Yn ol Ellicott, golyga "fesur cyflawn o fendithion ysprydol i'w cyflwyno iddynt." Ac yn ol Firrar Finton, golyga "mi a ddeuaf gyda llawn gymeradwyaeth Crist." Gwelir, gan hyny, mai sicrhau nerth ysprydol Crist, yn nghyflwyniad a derbyniad bendith gyflawn, a olygir yn benaf yma. Mae'n bosibl bod yn gywir, uniawngred, a chyflawn yn maich dysgeidiaeth y pulpud a'r eglwys, a bod yn amddifad o nerth personol Crist yn a thrwy yr oll. Nid yw uniawngrededd a chyflawnder dysgeidiaeth ond y *wire* briodol, sydd i gludo nerth personol Crist, i effeithio ar holl bersonolaeth a bywyd dynion. Diau fod angenrheidrwydd y "cyflawnder bendith," a chymeradwyaeth hwn o eiddo y Crist personol, yn deilwng o sylw arbenig yr eglwys yn yr oes hon.

Dyma'r awyrgylch yn mha un mae y cyd-ymdrech i'w gyflawni. Dywed Ellicott fod yr ymadrodd hwn, "cyd-ymdrech ohonoch," yn golygu "*to second my own earnest entreaties.*" Mae aelodau yr eglwys i fod yn "*seconds*" i'r gweinidog yn ei holl egnïon yn erbyn satan a phechod, ac o blaid egwyddorion ac awdurdod y deyrnas nid yw o'r byd hwn. Gwyddom am rai aelodau yn yr eglwys ag y mae yn well ganddynt fod yn "*seconds*" i elynion y gweinidog, nag iddo ef. Mae ereill yn ei wneud yn fater o gydwybod i weddïo dros, a chynorthwyo y gweinidog yn holl ranau ei waith mawr.

Mae y geiriau hyn yn ein harwain i sylwi ar

I.—NODWEDDION Y CYD-YMDRECH HWN.

Mae llawer o gysylltiadau ag y mae y gweinidog a'r eglwys i dywallt eu hegnïon, eu dylanwad, a'u hysprydoliaeth y naill i'r llall, er cyraedd yr amcan mawr.

(1) *Eu cyd-ymdrech yn eu perthynas â'u gilydd.*

Yr hyn sydd yn naturiol flaenaf mewn trefn yn y cysylltiad hwn ydyw—*diwylliant meddyliol a doniau.* Fel dysgawdwr y bobl, mae'n dra phwysig i weinidog Crist fod yn berchenog diwylliant, dysg, a dawn. Mae ganddo, os yn ffyddlon i'w swydd, i wynebu y bobl yn gyhoeddus, cymdeithasol, a phersonol. Mae ganddo i ymdroi yn mysg pobl o wahanol safleoedd mewn bywyd, a dylai allu bod o wasanaeth, cymorth, a chysur i'r oll. Prin mae'n angenrheidiol nodi mai maes mawr ei lafur meddyliol ydyw yr Ysgrythyrau sanctaidd. Eithr mae meistroli yr Ysgrythyrau yn cynwys bod yn gymharol fedrus mewn cangenau lawer o wybodaeth. Mae y Beibl yn cyffwrdd bron â phobpeth a berthyn i ddyn yn ei holl gysylltiadau. Mae gwybod hanes pob cenedl, sydd â hanes o werth iddi, yn fanteisiol i ddeall yr Ysgrythyrau. Mae y darganfyddiadau diweddar a wneir yn y gwledydd fu gynt yn enwog, yn taflu goleuni parhaus ar ryw adran o ddysgeidiaeth y Beibl. A chan mai llyfr i ddyn ydyw y Beibl, mae efrydiaeth ar "athroniaeth y meddwl dynol," yn ei wahanol ranau, yn ryfeddol o fanteisiol i egluro a chymwyso ei wirioneddau at ddynion. Nis gellir, gan hyny, roddi gormod o bwys ar yr angenrheidrwydd am addysg uchel, llwyr, a

chyflawn i weinidogion y Gair. Gwna yr eglwys yn ddoeth wario symau sylweddol o arian i'r amcan hwn. Buaswn, gan hyny, fy mrodyr ieuainc, yn eich cynghori, gyda phob dwysder a difrifwch, i fod yn efrydwyr ffyddlon ac aiddgar holl ddyddiau eich bywyd. Ymgodymwch âg anhawsderau efrydiaeth am y deng mlynedd nesaf, ac yn ddilynol i hyny, daw myfyrdod cryf yn ail natur i chwi, ac yn un o fwyniannau penaf eich bywyd. Daw parotoi ar gyfer y pulpud yn swyn gwirioneddol i chwi. A beth sydd odidocach na theimlo fod cyflawni ein rhwymedigaethau gweinidogaethol yn brif ffynonell ein dedwyddwch ? Os goddefwch i chwi eich hunain syrthio i ddiogi meddyliol yn awr, daw cyflawni eich gweinidogaeth yn y pulpud yn faich annioddefol ar eich hyspryd yn y man. Yn mlaen pob peth, ymegnïwch yn galed i fod yn bregethwyr da, goleuedig, a graenus. Pregethwch â'r deall ac â'r yspryd, â'r gelfyddyd ac â'r galon. Ymgollwch yn urddasolrwydd dwyfol eich gwaith. Bydded i chwi, trwy ras Duw, gael eich goddeithio gan awydd i lesâu yr eneidiau fydd ger eich bron, ac yna ni raid i chwi betruso parthed eu boddhau. Eithr os caiff boddhau dynion le mawr yn eich meddwl, ni lwyddwch byth i lesâu ond ychydig.

Yr wyf yn cael fy nhemtio, yn y cysylltiad hwn, i gyflwyno i chwi ychydig awgrymau parthed prif waith eich bywyd—sef pregethu efengyl Crist. Buaswn yn gwasgu arnoch *gyfansoddi* a *thraddodi* eich pregethau gystal ag sydd bosibl i chwi. Gofalwch fod pob pregeth yn cynwys gwirioneddau fydd yn adeiladu y saint yn

ysprydol, neu yn cyffroi yr annychweledig i dderbyn y Gwaredwr. Na cheisiwch foddloni y rhai feddant fwy o chwilfrydedd am wybod pa sawl modfedd sydd o Jerusalem i Jericho, na'r ffordd at groes Crist. Ymdrechwch, hyd y mae ynoch, ddwyn arddull y testyn i'r bregeth, ac arddull y bregeth i'r traddodiad. Dyma sydd naturiol, a dyma sicrha yr amrywiaeth mwyaf dyddorol. Y pregethwr mwyaf medrus yn hyn ydyw y mwyaf anhawdd ei efelychu, am nad yw yn efelychu llawer arno ei hun. Byddwch chwaethus, hyd y gellwch, yn eich cymhariaethau a'ch eglurebau, ac na ddefnyddiwch hwynt o gwbl, os na chymerant eu lle yn naturiol, fel priddfeini mewn mur. Wedi i chwi ymdrechu yn deilwng i gyfansoddi pregeth deilwng, ymegnïwch i ddysgu ei thraddodi yn deilwng. Mae traddodiad gwael yn sefyll rhwng y bregeth a'r gwrandawyr, pryd y dylai gynorthwyo ryw gymaint, a dyweyd y lleiaf, er cryfhau yr effaith. Yn mlaen pob peth, dysgwch ynganu pob sill a llythyren. Er nad oes yr un pwys i fod ar bob sill, nid ydych i lithro yn anhyglyw dros yr un gair na sill. Mae gwneuthur hyn yn gywir yn cynwys mwy o elfenau dyddordeb i'r gwrandawyr nag y mae ond ychydig o bregethwyr yn ei dybio. Os ydych wedi eich dwyn i fyny mewn rhan o Gymru a nodweddir gan *ynganiad drwg*, a'r ynganiad hwnw wedi glynu ynoch, nac oedwch heb ymdrechu ymryddhau oddiwrth yr arferiad cywilyddus. Hyd nod pe bai raid i chwi dderbyn gwersi gan *Professor of Music*, mynwch ddod yn rhydd o'r blin gaethiwed hwn. Dysgwch *anadlu* yn naturiol a llawn. Na fyddwch lonydd, nes gallu llenwi eich *lungs* âg awyr

yn mhob anadliad, a rhoddwch ef allan yn ol y byddo y gofyn. O ran hyny, yr ydych yn dra thebyg o'i roddi allan yn naturiol, os cymerir ef i mewn yn naturiol. O ddiffyg *professors* mewn areithyddiaeth Gymreig o fewn cyraedd, dylai pob gweinidog sicrhau cwrs o wersi ar anadlu *(breathing)*, gan *Professor of Music* galluog. Sicrha hyny lais pereiddiach, arbeda wastraff niweidiol ar nerth cyffredinol y corff, a cheidw yr organau *delicate*, sydd yn y gwddf a'r fynwes, rhag niwaid dinystriol. Mae pregethu llawer, heb y feistrolaeth hon ar anadlu, yn sicr o beri i ryw ran o'r corff—yr offerynau lleisiol, y galon, neu y *nervous system*, &c.—i roddi ffordd yn y man. Er mwyn eich iechyd eich hunain, ac er mwyn effeithiolrwydd eich gweinidogaeth, nac esgeuluswch hyn. Yn wir, buaswn yn anog holl ieuenctid y wlad i sicrhau yr addysg hon, er mwyn iechyd hoenus. Byddai dysgu anadlu yn llawn, a cherdded y mynyddoedd a'r bryniau, yn cyfranu yn annhraethol fwy at iechyd bechgyn ieuainc y wlad hon, na chicio y bêl droed. Cynorthwy sylweddol i hyn fuasai *gymnastic exercises* gyda'r *dumb bells*, er datblygu y fynwes, ac atal y cefngrymedd, sydd yn gwneud anadlu a lleisio yn briodol yn anmhosibl. Mae tuedd rhy gyffredinol mewn pregethwyr i wargrymu, er anfantais fawr i'w hiechyd a'u heffeithiolrwydd. Os oes genych lais da a soniarus, gwnewch y defnydd ohono a fydd o wasanaeth i'r efengyl, ond peidiwch a'i addoli ar draul esgeuluso cyfoethogrwydd cynwys y genadwri. Defnyddiwch ef yn ddeallgar, er gosod gerbron brydferthwch y gwirionedd a draethir genych. Ymdrechwch ddefnyddio yr oll o'ch

llais o'r *top* i'r gwaelod. Tuedd y Cymro ydyw esgeuluso nodau canol mwyaf cyfoethog ei lais, a neidio o'r gwaelod i'r uchderau, a myned heibio gwir gyfoeth ei lais. Os mai llais garw ac angerddol sydd genych, bydded i chwi ei gadw tanodd hyd y gellir, wedi gallu gwneud eich hunain yn hyglyw, ac ymdrechwch acenu, ynganu, a phwysleisio yn ddeallgar, yn hytrach na dwyn allan lais ansoniarus. Yr wyf wedi ymdroi gyda'r mater hwn, ond credaf ei fod yn dra theilwng o sylw difrifolaf pob gweinidog ieuanc.

Ond nis gall y gweinidog gyraedd amcan deallol uchel trwy ei holl ymegnïon yn yr efrydfa a'r pulpud, oddieithr i'r eglwys feithrin *ysbryd ac ymarferiad myfyrgar yn Ngair Duw*. Tra mai gwarthus y syniad fod nifer yn yr eisteddleoedd uwchlaw y pulpud mewn diwylliant a gwybodaeth ar y materion y dylai y pulpud fod yn fedrus ynddynt, mae'n ffynonell digalondid i bregethwr ymroddgar fod goreu ei efrydiaeth heb ei werthfawrogi gan ei braidd ei hun. Nid doethion yn ngolwg ffyliaid, a ffyliaid yn ngolwg doethion, ydyw gweinidogion Duw i fod, eithr doethion yn ngolwg doethion. A dylai holl aelodau yr eglwys ymegnïo yn nghyfeiriad y deall-twriaeth a'r ddoethineb fydd yn eu cymwyso i werth-fawrogi cyfoeth mwyaf y weinidogaeth. Dylai pob aelod eglwysig efrydu y "Maes Llafur" yn ei oriau hamddenol, a darllen yn fyfyrgar rhyw ran o Air Duw mor fynych ag fydd yn bosibl. Mae'n ofidus meddwl fod nifer mor fawr o aelodau ieuainc yr eglwysi yn dod o'u gorchwylion, ymolchi a bwyta, ac yna allan i edrych o'u cwmpas, neu chwareu, gan esgeuluso Gair Duw, o

ddechreu i ddiwedd y flwyddyn. A phan y darllenant, ni cheir ganddynt ond mân ffug-chwedlau difyr, ond di-fûdd. Goddefwch i mi eich anog oll i wneud hawliad mawr ar y pulpud. Gorfodwch y pregethwr i deimlo eich bod fel cenawon newynog, mewn angen cynaliaeth sylweddol. Nid oes dim mor symbyliadol ac yspryd-iadol i'r gwir bregethwr na hawliad uchel oddiwrth ei gynulleidfa, na chwaith ddim yn fwy deifiol i'r pregethwr diog a diyni. Ac o bosibl mai deifio y cyfryw un sydd eisieu.

Gellir nodi mai *ffurf arall ar gyd-ymdrech y gweinidog a'r eglwys ydyw gwasanaeth eglwysig a chymdeithasol.*

Yr wyf yn mawr hyderu fod pob brawd yn y weini-dogaeth, sydd yma heddyw, yn sylweddoli pwysigrwydd ymweliadau bugeiliol pur ac iach â phraidd ei ofal, yn aelodau a gwrandawyr. Nid yw pob un ohonom, oherwydd prysurdeb cyhoeddus, a elwir allan gan eglwysi y wlad, yn gallu gwneud y cyfryw ymweliadau i fyny o lawer â'n hargyhoeddiad. Ond yn ddiddadl, mae y cyfryw ymweliadau yn rhan bwysig o waith gweinidog Crist. Yr wyf yn deall fod rhai yn edrych i lawr ar y rhan bwysig hwn o'u gwaith. Yr wyf yn gobeithio nad oes yma neb o'r cyfryw. Os oes, rhaid i chwi dreulio eich oes yn fwy o faich i'r eglwysi, nag o wir fudd i'r praidd. Mantais arbenig i'r gweinidog ei hun ydyw ymweliadau achlysurol, ond cyson, â'i braidd. Mae'n chwanegu mîn, gloewder, a nerth ei *synwyr cyffredin*, ac yn bywiogi a pherffeithio ei *adnabyddiaeth o'r natur ddynol* yn ei holl amrywiaethau rhyfedd. Ac mae'n anhawdd meddwl am gymwysder pwysicach i bregethwr,

hyd nod yn ei bulpud, nag adnabyddiaeth lled lwyr o'r natur ddynol. Oblegid â natur ddynol, a hono wedi camu, mae a fyno gweinidog Crist. Eithr gofalwch am beidio gor-wneud ymweliadau, ar draul aberthu eich gwaith pwysicach fyth yn yr efrydfa. Wrth ymdeithio trwy y wlad, tra yn clywed fod rhai ohonom yn ddiffygiol mewn ymweliadau, yr wyf yn clywed, hefyd, fod rhai yn ymweled gormod, gan roddi i'r praidd bregethau teneuon iawn ar y Sabboth. Mae y ddau eithafion hyn i'w condemnio. Mae *un awr y dydd*, ar gyfartaledd, yn ddigon i ymweliadau, a dylid ymweled â haner dwsin o deuluoedd yn ystod yr awr hono. Wrth gwrs, bydded i bob brawd ranu ei amser yn ol ei ddoethineb a'i gyfleusdra ei hun. Buaswn yn cynghori pob gweinidog ieuanc, dan ddeugain oed, i benderfynu bod yn ffyddlon i'w efrydfa hyd ar ol ciniaw bob dydd, oddieithr dan amgylchiadau anghyffredin. A phan y cewch wragedd, fy mrodyr ieuainc, ymdrechwch drefnu gyda hwynt i gadw *sentry* doeth a charedig rhwng drws y *front* a drws yr efrydfa, hyd oriau y prydnawn; ac felly ni ddeuant hwythau i'ch ffau gysegredig yn rhy fynych. Eithr er hyn oll, nac anghofiwch ymweliadau bugeiliol, er adeiladaeth a chysur personol pobl eich gofal. Ac yn eich ymwneud â'r bobl byddwch siriol, serchog, cartrefol; eithr gofalwch am gadw eich hunain yn deilwng o urddas yr efengyl. A thra mae'n eithaf priodol i chwi ymddiddan ar gwestiynau cyffredinol bywyd, na chedwch o'r golwg eich rhwymedigaethau fel gweision Duw yn nghartrefi eich pobl, mwy nag yn y pulpud. Ymgedwch oddiwrth glebar hollol difudd, a phan y cymerwch ran

yn storïau diniwaid yr aelwyd, ymgedwch oddiwrth *chwaeth isel*, ac yn enwedig felly yn mhresenoldeb y rhyw ag y mae lledneisrwydd a glwysineb yn hanfodol i'w hurddas. Peidiwch siarad mwy na'ch cyfran rhesymol tra yn eistedd wrth fyrddau eich cyfeillion. Nid oes genych fwy o hawl i siarad y cwbl nag sydd genych o hawl i fwyta y cwbl. Mae siarad y cwbl yn y pulpud yn ddigon i chwi.

Eithr cyn gadael y mater hwn, mae genyf i argraffu ar feddwl y dorf fawr hon o aelodau eglwys Crist, eu rhwymedigaeth i gynorthwyo y gweinidog i wneud ei ymweliadau bugeiliol yn *adeiladol a bendithiol*. Disgwyliwch ef i'ch tŷ fel gweinidog Crist, i gyflawni ei rwymedigaethau i'w Feistr, yn ei berthynas â chwi. Dyna wnewch gyda phawb ereill. Chwi ddisgwyliwch y meddyg fel meddyg, y masnachwr fel masnachwr, y gwerthwr llaeth gyda'i laeth, disgwyliwch yn ofnus am y casglwr trethi fel casglwr trethi, a'ch cyfeillion fel cyfeillion. Yr un modd disgwyliwch y gweinidog fel cenad Duw. Os byddwch wedi esgeuluso y gwasanaeth boreu Sul, yr ysgol Sul, y cyfarfod gweddi—"Olwyn Fawr yr Eglwys," ys dywed Mark Guy Pearse—a'r cyfarfod eglwysig, disgwyliwch ef i'ch ceryddu yn garedig, ond llŷm. Os byddwch mewn profedigaeth a thrallod, disgwyliwch ef i gydymdeimlo â chwi, ac i'ch cysuro yn yr Arglwydd. Eithr uwchlaw pob peth, cynorthwywch ef, trwy dalu ymweliadau eich hunain âg esgeuluswyr moddion gras, y cleifion, a'r galarus. Yr wyf yn erfyn arnoch, yn enw Arglwydd Dduw byddinoedd Israel, na ymddygwch mwy, fel yr ofnwyf y gwna

rhai ohonoch, fel pe wedi eich cyflogi bron yn anymwybyddol i chwi eich hunain, gan y gelyn mawr, i ladd eich bugeiliaid â phryder deifiol ac edwinol. Mae lle i ofni fod rhai ohonoch, er yn aelodau eglwysig er's dros ugain mlynedd, heb ddysgu cerdded, magu digon o ddanedd i fwyta bwyd cryf, na defnyddio llwy i helpu eich hunain, hyd yr awr hon. Da chwi, helpwch eich hunain, a magwch nerth i symud a gweithio, modd y caffo eich bugail grynhoi ei lafur ar dô arall, ieuengach na chwi.

(2) *Ein cyd-ymdrech yn ein perthynas â Duw.*

Dyma berthynas uchaf cyd-ymdrech y gweinidog a'r eglwys. Gan mai cyd-ymdrech gyda gwaith Duw ydyw, mae bod yn y gyd-berthynas agosaf â Duw ei hun yn hanfodol i lwyddiant ysprydol y gwaith. Ein perygl yn yr oes hon ydyw ymegnïo dros Dduw, tra yn amddifad o'r nerth mawr sydd yn gynyrch cyd-undeb â Duw ei hun.

Un cyd-ymdrech yn ein perthynas â Duw ydyw, "*mewn gweddïau.*"

Mae'n bwysig efrydu y datguddiad dwyfol i wybod ewyllys Duw tuag atom. Eithr trwy weddïau taerion a ffyddiog mae i ni sicrhau cyflawniad ei ewyllys. Trwy yr Ysgrythyrau y gwyddom yn ddeallol am y nerthoedd dwyfol, eithr trwy weddïau y mae i ni berchenogi ei nerth ynom ein hunain. Gwyddom am rai yn gwybod llawer am nerth Duw, eithr yn gwbl amddifad ohono yn eu bywyd personol. Y cyfrif am hyn ydyw, eu bod yn fwy o efrydwyr nag o weddïwyr. Y naill a'r llall sydd oll-bwysig.

Gyda'i holl athrylith, ei ddiwylliant uchel, a'i wybodaeth eang, teimlai yr Apostol Paul angenrheidrwydd hanfodol y "cyd-ymdrech ohonoch *gyda myfi* mewn *gweddïau drosof fi* at Dduw." Undeb gweddïau yr eglwys, â'r eiddo y gweinidog drosto ef ei hun, a olygir yn benaf yma. Mae'n annhraethol bwysig i weinidog Crist i fod yn weddïwr taer a ffyddiog drosto ei hun fel gweinidog. Nis gall weled yn ysprydol wirioneddau uchaf yr efengyl ond trwy weddi. Mae rhyw ddyfnderoedd ysprydol yn Ngair Duw, nas gwelir hwynt ond trwy ddatguddiad y llygaid, ac nid yw y datguddiad llygaid hwnw yn nghyraedd neb ond y gweddïwr. "Datguddia fy llygaid, fel y gwelwyf bethau rhyfedd allan o'th gyfraith di." Trwy weddi, drachefn, y daw y gwirioneddau mwyaf yn gynesrwydd calon, yn gyffro mawr cydwybod, ac yn nerth angerddol ewyllys i'r gweinidog. Mae'r un mor bwysig i'r eglwys fod yn yr un *yspryd ac ymarferiad gweddigar*. Nid yw y sawl sydd heb ffurfio ymarferiad o weddïo dros fugail yr eglwys yn debyg o dderbyn nemawr o fendith dan ei weinidogaeth. Ac nis gallaf gael fy hun i gredu fod y rhai anffyddlon i'r cyfarfodydd gweddïau, lle yr erfynir bendith y nef ar y pulpud, ac ar y gwaith yn gyffredinol, yn ffyddlon chwaith i'w gweddïau dirgelaidd ar ran yr un achos mawr. Goddefwch i mi ddeisyf arnoch oll, yn yr Arglwydd, i wneud gweddïo dros eich bugeiliaid yn rhan arbenig o'ch bywyd. Os gweddïwch lawer, chwi a feirniadwch ychydig. Os gweddïwch lawer dros y bugail, byddwch hwylusach i'ch trafod gan y bugail. Os gweddïwch lawer drosto, chwi a gynorthwywch lawer

arno, os yw yn deilwng. Gweddïwch dros bob cenad i Dduw. Mae rhai yn gryfach, a rhai yn wanach, o ran talent a dawn—gweddïwch dros y rhai gwanaf yn enwedig. Eich perygl ydyw gweddïo mwy dros y cryfaf na thros y gwanaf. Nac anghofiwch y rhai gwan, a sylweddolwch y gall cyrn hyrddod yr Arglwydd ddryllio caerau Jericho eto, a chacwn Duw ddyrnu mynyddoedd eto. "Cyd-ymdrech ohonoch gyda myfi mewn gweddïau drosof fi at Dduw."

Gwasga y testyn, hefyd, gyd-ymdrech y gweinidog a'r eglwys i *gyd-sefyll yn yr undeb parhaol uchaf â Christ, ac i gyd-berchenogi nerthoedd yr Yspryd Glân yn eu hysprydoedd.* "Er mwyn ein Harglwydd Iesu Grist, ac er cariad yr Yspryd," neu y cariad ynom ni at Dduw, ac at ein gilydd, a gynyrchir gan yr Yspryd Glân. Mae y gweinidog a'r eglwys, sydd wedi eu cyd-grynhoi i undeb â'r Crist personol, a'u cyd-lenwi â nerthoedd yr Yspryd Glân, y gallu cryfaf yn y byd. Mae'n "ofnadwy fel llu banerog." Yn y berthynas oruchel hon, a'r nerthoedd dwyfol a thragwyddol, mae mynwent cwerylon a grym adgyfodiad efrydiaeth ysprydol, a gwasanaeth anhunanol ac ymroddol i Grist. Dyma'r ffwrnes fawr a lysg yn llwch a lludw bob hunanedd ac opiniwnedd ffol mewn gweinidog ac eglwys. Pâr i awyddfryd uchelgeisiol am awdurdod a swydd ymgolli mewn ffyddlondeb i'r unig Benaeth all lywodraethu pawb, ac yn Ben uwchlaw pob peth i'r eglwys. Buddiol i bawb ohonom fyddai adgofio beunydd nad oes ond un awdurdod a llywodraeth oruchel a hollol yn bosibl i'r eglwys, sef yr eiddo Crist ei hun. Absenoldeb sylweddoliad o'r gwirionedd hwn sydd wrth

wraidd yr holl ymrafaelion eglwysig. Pe bai pawb yn ymegnïo i ymgadw yn ddigon agos at Grist, i'w wneud yn unig Benaeth ein bywyd, deuem yn un gallu mawr ynddo Ef, ac Efe ynom ninau. Meddyliodd Octavius na wnai mwy nag un llywodraethwr yn Rhufain ond cynyrchu gwrthdarawiad a chwerylon, ac o dan y cyfryw syniad, penderfynodd alw ei hun Augustus, a gorchfygu Mark Antony, gan ymgymeryd â bod yn unig lywodraethwr. Pa fodd bynag am Rufain baganaidd, unig obaith llwyddiant sylweddol yr eglwys gristionogol ydyw ymgolliant yr aelodau yn awdurdod ac adnoddau dihyspydd Crist y Pen. Adroddai un, fu yn gristion am lawer blwyddyn, ei brofiad yn y *Keswich Convention*, amser yn ol. "Yr oeddwn," meddai, "wedi clywed am Grist fel Brenin. Ac yr oedd wedi bod yn teyrnasu ynof fi, eithr fel *Penadur Cyfansoddiadol* y gwnaethai hyny. A myfi fy hunan oedd y *prif weinidog*, a chyflawnais lawer o'r gwaith fy hunan. Ar ol hyn, gwelais y rhaid iddo Ef fod yn Ymerawdwr hollol, ac felly y mae'n awr." Dyma, yn ddiddadl, y cyflwr meddwl a gynyrchir gan fyw yn agos i Grist, ac mewn cael ein llenwi â'r Yspryd Glân. Yn ein cyd-ymgolliant ynddo Ef, anghofiwn ein mân hawliau ein hunain, a chrynhoir ein holl egnïon i gyflawniad ei ewyllys Ef. Dyma wna y gweinidog yn gleddyf gloew a llŷm yn llaw Duw. Ysgrifenodd y duwiolfrydig M'Cheyne at weinidog unwaith, ac a ddywedodd wrtho, "mor ddiwyd yr ymdrecha y marchfilwr i gadw ei gleddyf yn lân a miniog. Rhwbia ymaith bob staen gyda'r gofal mwyaf. Cofia, mai cleddyf Duw ydwyt tithau. Mae gweinidog duwiol yn

offeryn ofnadwy yn llaw Duw. Nid talentau mawrion y mae Duw yn fendithio, eithr tebygrwydd i Grist." Eithr mae eglwys bur, lân, gynes a gweddigar, yn fantais arbenig i gadw y gweinidog yn lân a dihalog mewn byd aflan a llygredig. Fe gedwir yr arfau a ddefnyddir at afiechydon heintus yn meddygdai y wlad mewn *carbolic acid*, rhag iddynt gludo unrhyw haint i friwiau neb. Mae sancteiddrwydd a gweddigarwch yr eglwys yn gymorth nid bychan i ddiogelu purdeb y gweinidog, a sicrhau na bydd iddo gludo unrhyw ddylanwad heintus i friwiau agored dynoliaeth. A thrwy gyd-arhosiad y gweinidog a'r eglwys yn Nghrist, a chyd-breswyliad yr Yspryd Glân ynddynt, y diogelir hyn oll. Ond nodir eto, yn

II.—Effeithiau bendithiol cyd-ymdrech y gweinidog a'r eglwys.

"Fel y'm gwareder oddiwrth y rhai anufudd (neu anghrediniol) yn Judea ; ac ar fod fy ngweinidogaeth, yr hon sydd genyf i Jerusalem, yn gymeradwy gan y saint ; fel y delwyf atoch mewn llawenydd, trwy ewyllys Duw, ac y'm cyd-loner gyda chwi. A Duw yr heddwch fyddo gyda chwi oll. Amen."

(1) *Mae cyd-ymdrech ysprydol y gweinidog a'r eglwys yn sicrhau amddiffyniad i'r gweinidog yn ngwyneb ymosodiadau ei wrthwynebwyr. "Fel y'm gwareder oddiwrth y rhai anufudd yn Judea."*

Gwyddai yr Apostol fod yn Judea Iuddewon crefyddol llawn rhagfarn a chreulonedd at bobpeth cristionogol, ac yr oedd yn rhaid eu gwynebu a'u gorchfygu. Ac nid

oes neb mwy anhawdd i'w gorchfygu â gwirionedd, nac yn fwy anhawdd llesteirio eu buddgarwch, na chrefyddwyr rhagfarnllyd. Diau y teimlai yr Apostol hyny. Eithr meddai hyder cryf y buasai cyd-safiad yr eglwys âg ef yn Nghrist, ei chyd-weddïau âg ef at Dduw, a'u cydlenwad â'r cariad cynyrchedig gan breswyliad yr Yspryd Glân, yn amddiffyniad cryf iddo, rhag unrhyw niwaid. Gall Duw wneuthur hyny trwy *lanw* ei bobl â'r nerth personol digonol i orchfygu gelynion, neu trwy eu hamgylchu mewn modd nas gall neb ei ragweled. I'r sawl sydd yn aros mewn undeb agos âg Ef, mae'r Arglwydd yn "ogoniant *yn y canol*, neu yn fur o dân *o amgylch*." Efe a leinw ei weinidog â nerth i ymladd, neu a ymsymud o'i gwmpas i ymladd drosto, tra y bydd ef "yn edrych ar iachawdwriaeth yr Arglwydd." A theimlai yr Apostol y sicrheid ymwared iddo os safai ef a'r eglwys mewn undeb sanctaidd a gweddigar â Duw. "Fel y'm gwareder." Mae'r addewidion a'r adnoddau dwyfol hyny yn ein cyraedd ninau.

(2) *Mae cyd-ymdrech y gweinidog a'r eglwys yn sicrhau cymeradwyaeth y gweinidog gan oreuon yr eglwys.*

"Fy ngweinidogaeth . . . . yn gymeradwy *gan y saint*." Yr oedd yn Jerusalem rai rhagorolion ac arnynt arlliw Iuddewaidd, a sylweddolai beth anhawsder o'r herwydd i gymeradwyo ei hun iddynt. Eithr awyddai yn fawr sefyll yn barchus yn eu golwg. Ac yn hyn mae'n esampl ardderchog i holl weinidogion yr efengyl trwy yr holl fyd. Fy mrodyr ieuainc, gwnewch eich goreu i ddiogelu cymeradwyaeth goreuon yr eglwys ac anwyliaid Duw. Mae lle i ofni fod ambell i weinidog eto yn fwy

o ffafryn gan ddarllawyr, tafarnwyr, yfwyr, a chwareuwyr, na chyda'r "saint." Bydded ein huchelgais i fod yn gymeradwy gan y "saint," ac yna byddwn yn sicr o gymeradwyaeth eu Duw. Ac os byddwn gymeradwy gan Dduw, byddwn yn perchenogi y cymwysder a'r gallu mwyaf i orchfygu y byd yn enw yr Arglwydd. A sicrheir hyn oll i'r gweinidog pan y mae ef a'i braidd yn ymgadw mewn undeb gweddigar â Duw, ac yn cael eu llanw â "chariad yr Yspryd."

(3) *Mae cyd-ymdrech ysprydol y gweinidog a'r eglwys yn eu gwneuthur yn gyfryngau llawenydd, ac adnewyddiad ysprydol i'w gilydd.*

"Fel y delwyf atoch mewn llawenydd, trwy ewyllys Duw, ac y'm cyd-loner gyda chwi," neu yn ol y cyfieithiad Seisnig, "*and may with you be refreshed*," neu yn ol Alford, "ac y gallaf gyda chwi gael gorphwysdra." "*Repose*" ydyw term Moule.

Mae Duw yn ewyllysio i'r gweinidog allu ymdroi yn mysg y praidd "mewn llawenydd," ac mae eu cyd-undeb ysprydol a gweddigar â Duw yn diogelu hyn, hyd nod mewn amgylchiadau gwasgedig a chythryblus. Ac yn ngrym y profiad uchel hwn, byddant yn adnewyddiad—yn *refreshment* y naill i'r llall, ac yn gallu ymorphwys yn eu gilydd. Hwy a fwynhânt ryw "*sweet repose*" yn eu cyd-berthynas uchel â Christ, hyd nod yn nghanol tymestloedd oddiwrth y byd, y cnawd, a'r diafol.

Ac yn awr, fy mrodyr a'm chwiorydd yn yr Arglwydd, goddefwch i mi wrth derfynu, eich taer gymell i ymgadw mewn undeb parhaol â'r "yni a'r nerth, sydd wedi ei storio i ni yn Nuw"—aros, fel y dywed Tennyson,

"yn y dirgelwch, lle y mae Duw mewn dyn yn *un* â dyn yn Nuw." Dyma, fy mrodyr yn y weinidogaeth, a'n ceidw yn dirf, iraidd, ac egnïol, hyd ddyddiau henaint. Yn yr undeb uchel hwn â'r yni dwyfol, chwi a ofalwch beidio myned yn hen yn rhy fuan. Mae rhai gweinidogion yn amneidio ar henaint o leiaf bymtheng mlynedd yn yn rhy fuan. Moesgrymant iddo o'r pellter. Pan dan ddylanwad cyffro gorwyllt ei athrylith, fe weithiai Michael Angelo, pan yn ddeg-a-thrugain oed, gymaint ar ei gerfluniau mewn awr ag a wnai dau neu dri o ddynion cyffredin mewn diwrnod. A thybed na ddylai preswyliad nerth yr Yspryd Glân fod yn hafal ynom ni i nerth athrylith mewn cyffroi, nerthu, a symbylu i waith? Ac O! bobl Dduw, nac anghofiwch chwi ymgadw mewn cymundeb â'r yni a'r gwres dwyfol, modd y caffoch eich cadw yn fyw, egnïol, a gwresog yn yr yspryd, ac y teimla y byd ddylanwad y tân sydd ynoch. Gwir y gair, "fod y cristion fel y marworyn byw—y rhaid iddo roddi ereill ar dân, neu ddiffodd ei hun."

> "Heaven's gate is closed to him who comes alone,
> Save thou a soul, so shalt thow save thine own."

Ac yn awr, "Duw yr heddwch a fyddo gyda chwi OLL. Amen."



EVAN THOMAS, ARGRAFFYDD, HIGH STREET, BANGOR.